# Cynnwys

# Cyngor ar Bopeth Cymru

Mae Cyngor ar Bopeth yn elusen annibynnol sy'n cwmpasu Cymru a Lloegr ac mae'n gweithredu fel Cyngor ar Bopeth Cymru yng Nghymru gyda'i swyddfeydd yng Nghaerdydd ac yn y Rhyl. Mae 19 o aelodau Cyngor ar Bopeth lleol [1] yng Nghymru sydd oll yn aelodau o Cyngor ar Bopeth, ac yn darparu gwasanaethau mewn dros 375 o leoliadau a chynnig gwasanaethau ar y ffôn ac ar-lein.

Mae'r cyngor a ddarperir gan y gwasanaeth Cyngor ar Bopeth yn ddi-dâl, annibynnol, cyfrinachol a diduedd, ac mae ar gael i bawb, beth bynnag fo'u hil, rhyw, anabledd, cyfeiriadedd rhywiol, crefydd, oed neu genedligrwydd.

Gwirfoddolwyr hyfforddedig yw'r rhan fwyaf o staff gwasanaethau Cyngor ar Bopeth. Mae pob aelod o staff cynghori, p'un a yw'n weithiwr â thâl neu'n wirfoddolwr, wedi'i hyfforddi mewn sgiliau cynghori a bydd yn cael hyfforddiant diweddaraf cyson ar bynciau penodol a mynediad at gyngor arbenigol bynciau amrywiol.

Dau nod y Ganolfan Cyngor ar Bopeth yw:

- rhoi'r cyngor sydd ei angen ar bobl ynghylch y problemau y maent yn eu hwynebu
- gwella'r polisïau a'r arferion sy'n effeithio ar fywydau pobl.

Mae Cyngor ar Bopeth lleol, o dan delerau aelodaeth Cyngor ar Bopeth, yn darparu cyngor craidd yn seiliedig ar dystysgrif safonau ansawdd ar faterion defnyddwyr, budd-daliadau lles, tai, trethi, iechyd, cyngor ariannol, cyflogaeth, gwahaniaethu, materion teuluol a phersonol, mewnfudo a chenedligrwydd ac addysg.

Ers 2014 y gwasanaeth Cyngor ar Bopeth sy'n gyfrifol am gynrychioli defnyddwyr yng Nghymru, gan gynnwys swyddogaethau statudol a chyfrifoldebau i gynrychioli defnyddwyr ynni o ganlyniad i newidiadau Llywodraeth y DU i'r dirwedd defnyddwyr.

Y llynedd, **gwnaethom gynorthwyo dros 2.7 miliwn o bobl ledled y DU** wyneb yn wyneb, ar y ffôn, drwy e-bost neu drwy sgwrsio ar y we. Mae hyn yn rhoi darlun unigryw i ni o'u hanghenion a'u pryderon. Rydym yn defnyddio'r wybodaeth hon i ymgyrchu ynghylch materion pwysig yn lleol ac yn genedlaethol. Felly un ffordd neu'r llall, rydym yn helpu pawb – nid y rhai yr ydym yn eu cynorthwyo'n uniongyrchol yn unig.

---

[1] Mae Cyngor ar Bopeth yn newid. Rydym yn moderneiddio ein gwasanaethau i ymateb i anghenion sy'n newid ac i gyrraedd mwy o bobl. Fel rhan o'r broses hon byddwn yn newid enw'r gwasanaeth – Cyngor ar Bopeth lleol fydd pob *bureau*/canolfan bellach.

# Crynodeb

Mae'r adroddiad hwn yn pwyso a mesur y system ar gyfer cael gafael ar ofal cymdeithasol yng Nghymru a thalu amdano. Mae wedi'i seilio ar ymchwil a gomisiynwyd gan Cyngor ar Bopeth Cymru a gynhaliwyd gan IFF Research a Beaufort Research. Mae'n cynnwys data gan y rhwydwaith Cyngor ar Bopeth lleol ledled Cymru a'r gwasanaeth Cyngor Da, Byw'n Well, sy'n darparu cyngor i bobl mewn lleoliadau gofal sylfaenol ledled Cymru, ac mae'r prosiect yn cael ei gyllido gan Lywodraeth Cymru a'i gynnal gan Cyngor ar Bopeth Cymru. Mae adolygiad o'r dystiolaeth ynghlwm yn **atodiad un**.

Diben yr ymchwil a gynhaliwyd gan IFF Research oedd **canfod ac asesu profiadau ac anghenion pobl sy'n derbyn gofal cymdeithasol, neu a allai fod angen gofal cymdeithasol yn y dyfodol**, naill ai **gartref** neu mewn **lleoliad preswyl**.

Galluogodd ymchwil Beaufort i Cyngor ar Bopeth Cymru gael syniad o **ddealltwriaeth ac ymwybyddiaeth pobl o'r system gofal cymdeithasol yng Nghymru** a gwerthfawrogi **pa mor barod yw pobl i ymgysylltu â'r system**. Hefyd, i ddeall i ba raddau y mae pobl yn teimlo'u **bod yn gallu cyfrannu at gostau eu gofal** yn y dyfodol, gan gynnwys unrhyw **gynllunio ariannol** sydd ar waith ganddynt ar gyfer hyn neu y maent yn ystyried ei roi ar waith. Yn olaf, roedd Cyngor ar Bopeth Cymru am wybod sut mae pobl yn **defnyddio gwybodaeth, cyngor ac eiriolaeth yn ymwneud â gofal cymdeithasol ar hyn o bryd a sut y gallent fod am gael gafael ar hynny yn y dyfodol.**

Mae Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014 (y Ddeddf) yn cyflwyno newidiadau i'r ffordd y mae gofal cymdeithasol yn gweithredu yng Nghymru. Mae Llywodraeth Cymru yn dweud mai nod y Ddeddf yw rhoi llais cryfach i bobl a rheolaeth wirioneddol dros y cymorth sydd ei angen arnynt i ddymchwel rhwystrau i'w llesiant. Mae'r pwyslais ar ymyrraeth gynnar i atal anghenion rhag troi'n argyfyngus a hyrwyddo buddsoddi adnoddau yn y tymor byr, i roi'r gwerth gorau i arian cyhoeddus yn gyffredinol. Daeth y Ddeddf i rym ym mis Ebrill 2016.

Un mater sydd heb ei ddatrys yw newidiadau i sut y telir am ofal cymdeithasol yng Nghymru. Roedd y diwygiadau diweddar i wasanaethau cymdeithasol yng Nghymru i fynd i'r afael â materion yn ymwneud â thalu am ofal, fodd bynnag mae Llywodraeth Cymru wedi gohirio'r penderfyniad, o ganlyniad i'r oedi i ddiwygiadau yn Lloegr.

Daethom i'r casgliad nad yw'r wybodaeth am ofal cymdeithasol yng Nghymru **yn cyflawni er budd bobl Cymru**. Dengys ein hymchwil bod diffyg ymwybyddiaeth

gyffredinol o sut mae'r system gofal cymdeithasol yn gweithio ac nad yw pobl yn gwybod sut i gael gafael ar ofal, eu bod yn ansicr am y broses ac yn teimlo nad ydynt yn gallu herio penderfyniadau.

Ar sail ein canfyddiadau, mae'r adroddiad hwn yn ceisio helpu i lywio'r ffordd y mae'r Ddeddf yn cael ei rhoi ar waith yng Nghymru, yn enwedig y Gwasanaeth Gwybodaeth, Cyngor a Chymorth, drwy ddarparu enghreifftiau o brofiadau pobl sy'n dod yn rhan o'r system gofal cymdeithasol a'r rhai sydd eisoes yn derbyn gofal. Credwn fod ein tystiolaeth yn rhoi darlun defnyddiol a all helpu i lywio'r ffordd y mae'r dull newydd yn darparu gwybodaeth, asesu unigolion ac anghenion gofalwyr, a sut y cynhelir asesiadau ariannol. Rydym yn tynnu sylw at yr angen i edrych yn ofalus ar sut y rhennir gwybodaeth gyda phobl, pryd a lle.

# Argymhellion

Mae'r argymhellion hyn mewn ymateb i'n hymchwil a'u nod yw sicrhau bod y Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn diwallu anghenion pobl Cymru sydd angen gofal cymdeithasol nawr ac yn y dyfodol.

**Cael gafael ar ofal**

- Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn cefnogi nod Llywodraeth Cymru o sicrhau bod pawb yng Nghymru yn gallu cael gafael ar wasanaethau gwybodaeth, cyngor a chymorth sy'n cynnwys, fel gofyniad sylfaenol, cyhoeddi gwybodaeth a chyngor ar:
    - sut mae'r system gofal a chymorth yn gweithredu yn yr ardal awdurdod lleol;
    - y mathau o ofal a chymorth sydd ar gael;
    - sut mae cael gafael ar y cyngor a'r cymorth sydd ar gael;
    - sut i fynegi pryderon am lesiant unigolyn yr ymddengys fod ganddo anghenion gofal a chymorth.

  Fodd bynnag**,** mae'n rhaid i **Lywodraeth Cymru, Gweinidogion Cymru, awdurdodau lleol, byrddau iechyd lleol a byrddau partneriaeth rhanbarthol** sicrhau bod pob gwasanaeth gwybodaeth, cyngor a chymorth:
    - yn gywir ac yn gyfoes;
    - yn meddu ar ddigon o adnoddau;
    - yng ngofal staff sydd wedi'u hyfforddi'n llawn;
    - yn bodloni safonau ansawdd Llywodraeth Cymru ar gyfer darparu gwybodaeth a chyngor (Fframwaith ansawdd gwybodaeth a chyngor ar gyfer Cymru IAQF[2]);
    - yn cael ei safoni'n effeithiol;
    - yn cael ei hyrwyddo'n eang;
    - yn cynnwys manylion yr holl wasanaethau cymorth cymunedol a thrydydd sector perthnasol, yn enwedig cael gafael ar wasanaethau eirioli;
    - yn ystyried (lle'n briodol) a oes sefydliadau cymunedol lleol/trydydd parti mewn gwell sefyllfa, gyda phrofiad perthnasol o ddarparu elfennau o'r gwasanaeth gwybodaeth, cyngor a chymorth yn eu hardal leol.

[2] http://llyw.cymru/docs/dsjlg/publications/comm/160315-iaqf-framework-cy.pdf

- Credwn fod gan **DEWIS Cymru**[3] botensial i fod yn 'siop un stop' fel rhan o'r gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor. I gyflawni hyn, mae'n rhaid iddo gael y cymorth a'r ymrwymiad angenrheidiol i'w wneud yn llwyddiant. Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn credu bod yn rhaid i Lywodraeth Cymru ac awdurdodau lleol gefnogi DEWIS Cymru gyda'r gofynion hanfodol canlynol:
    - cyllid digonol;
    - monitro effeithiol i sicrhau bod yr wybodaeth yn berthnasol ac yn briodol;
    - sicrhau bod safonau ansawdd gwybodaeth a chyngor cenedlaethol yn cael eu bodloni.

**Asesu cymhwyster**

- **Rydym yn croesawu'r gofyniad** bod yn rhaid i ddulliau awdurdodau lleol o asesu a sicrhau cymhwyster gael eu cyfathrebu'n glir er mwyn i bawb allu deall sut mae cael gafael ar asesiad, beth sy'n digwydd mewn asesiad, sut bydd yn cael ei gynnal, pwy fydd yn gwneud yr asesiad a'r hyn y mae'n ei olygu iddynt. Mae'n bwysig bod yr wybodaeth yn cael ei darparu'n **amserol** ac yn rhoi'r cyfle i bobl ddeall y broses, yr effaith bosibl arnynt, a sicrhau eu bod yn gallu paratoi ar gyfer yr asesiad a threfnu i **eiriolwr** fod yn bresennol os oes angen.

- Dylai **Llywodraeth Cymru, Gweinidogion Cymru, awdurdodau lleol a byrddau iechyd lleol** hyrwyddo'r defnydd o **wasanaethau cynghori ac eirioli annibynnol gyda sicrwydd ansawdd**, yn enwedig i'r rhai heb gymorth teulu. Nid oedd llawer o'r rhai a ymatebodd i'n hymchwil yn ymwybodol o'r opsiwn i gael eiriolwr/cynghorydd yn eu cefnogi yn ystod y broses asesu na lle i fynd am gyngor annibynnol ar y broses asesu. Mae'n rhaid i wybodaeth fod ar gael yn hawdd ym mhob fformat i sicrhau bod pobl yn ymwybodol o'u hawliau cyn yr asesiadau.

- Dylai **Arolygiaeth Gofal a Gwasanaethau Cymdeithasol Cymru (AGGCC), Asiantaeth Gwella'r Gwasanaethau Cymdeithasol a Chyngor Gofal Cymru**[4] barhau i weithio gydag awdurdodau lleol i ddatblygu dull cyson ar gyfer asesiadau tra'n sicrhau bod anghenion lleol yr unigolyn yn cael eu diwallu. Dylai hyn ei gwneud yn haws i rannu gwasanaethau ar draws ffiniau awdurdodau lleol, byrddau iechyd lleol a sefydliadau trydydd sector ac i bobl dderbyn gwybodaeth, cyngor a chymorth cyson.

[3] Gwefan yw DEWIS Cymru www.dewis.cymru, a sefydlwyd i ddarparu gwybodaeth a chyngor am lesiant.
[4] Mae Cyngor Gofal Cymru yn cael ei ddisodli gan olynydd, sef Gofal Cymdeithasol Cymru. Bydd Gofal Cymdeithasol Cymru yn Gorff a Noddir gan Lywodraeth Cymru gyda chyfrifoldeb am reoleiddio a datblygu'r gweithlu gofal cymdeithasol, ac am wella'r sector ledled Cymru.

### Asesiad ariannol

- Mae'n rhaid i'r gwasanaeth **Gwybodaeth, Cyngor a Chymorth** sicrhau bod yr wybodaeth am yr asesiad ariannol yn glir ac yn rhoi arweiniad cam wrth gam er mwyn gallu paratoi pobl ag anghenion gofal, eu gofalwyr a'u teuluoedd ymlaen llaw a sicrhau eu bod yn deall beth fydd yn digwydd yn yr asesiad.

- Dylai fod yn ofynnol i **aseswyr** (cymhwyster ac ariannol) ddarparu gwybodaeth ac amserlenni clir ar y broses benderfynu, gan gynnwys pryd fydd yr unigolyn a'u teulu yn cael eu hysbysu o'r canlyniad a sut, h.y. yn ysgrifenedig, ar y ffôn ac ati. Dylai **rheoleiddwyr** adolygu hyn er mwyn sicrhau ei fod yn digwydd ac argymell newidiadau os oes angen.

- Dylai fod gan **awdurdodau lleol swyddog(ion) ariannol** dynodedig yn cynnal asesiadau ariannol, i'r graddau y bo hynny'n bosibl. Y bobl â'r profiadau mwyaf cadarnhaol oedd y rhai a gafodd wneud eu hasesiadau ariannol gan swyddog ariannol dynodedig. Gallai awdurdodau lleol rannu'r swyddogion hyn pe bai hynny'n briodol. Yn ei dro, gallai hyn leihau costau awdurdodau lleol a hyrwyddo'r broses o safoni asesiadau ariannol.

### Derbyn canlyniad yr asesiad, apeliadau a chwynion

- Mae'n rhaid i **awdurdodau lleol** sicrhau bod y broses apelio a chwyno'n cael ei chynnwys mewn unrhyw wybodaeth a rennir gyda phobl sy'n cael eu hasesu neu sydd wedi'u hasesu. Mae'n rhaid i'r broses fod yn glir ac yn hygyrch.
- Dylai **Llywodraeth Cymru** fonitro sut y rhoddir y Ddeddf ar waith er mwyn penderfynu a oes angen proses apelio newydd.

### Talu am ofal

- Dylai **awdurdodau lleol** a'u partneriaid sicrhau bod yr wybodaeth am daliadau yn glir ac yn hygyrch. Bydd cael gwybodaeth glir a thryloyw am daliadau yn galluogi unigolion a'u teuluoedd i ddeall costau a chostau posibl gofal yn well. Dylid cael gwybodaeth glir a hygyrch i annog darparwyr gofal i fod yn glir ynglŷn â beth maent yn codi tâl amdano a sut maent yn gwneud hynny. Bydd hyn yn rhoi mwy o ddewis a rheolaeth i unigolion dros eu gofal. Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn cefnogi galwad y Comisiynydd Pobl Hŷn am eglurder am 'daliadau trydydd parti' tuag at gostau gofal neu'r taliadau am wasanaethau ychwanegol mewn gofal preswyl (gweler troednodyn).

- Dylai **awdurdodau lleol** ddarparu neu gomisiynu **canllawiau a chymorth pellach** ar daliadau uniongyrchol, gan gynnwys cyngor ar sut i ddewis

gofalwr. Gallai hyn annog mwy i fanteisio ar daliadau uniongyrchol lle'n briodol.

- Dylai **Llywodraeth Cymru** ystyried cefnogi creu **pecyn cymorth** sy'n galluogi pobl i wneud dewisiadau gwybodus am dalu am ofal. Dylai'r pecyn cymorth fod ar gael yn eang a darparu astudiaethau achos/enghreifftiau o gostau gofal, gartref ac mewn lleoliad cartref gofal preswyl.

- Dylai'r **Awdurdod Cystadleuaeth a Marchnadoedd (CMA)** ddiweddaru canllawiau ar delerau annheg mewn contractau cartref gofal. Diweddarwyd y rhain ddiwethaf gan y Swyddfa Masnachu Teg yn 2003 ac mae'r farchnad gofal wedi newid yn sylweddol ers hynny. Dylai canllawiau fod yn glir ac ar gael yn hawdd i bobl.

**Hyrwyddo arferion gorau ar draws pob maes**

- Dylid annog **Llywodraeth Cymru, awdurdodau lleol, byrddau iechyd lleol, byrddau partneriaeth rhanbarthol, gwasanaethau cymdeithasol, gweithwyr cymdeithasol, sefydliadau trydydd sector** ac eraill i hyrwyddo a rhannu arferion gorau ledled Cymru drwy [www.arferda.cymru](http://www.arferda.cymru). Gellid hyrwyddo'r wefan hefyd i bobl ag anghenion gofal a'u gofalwyr/teulu i ddysgu am arferion da a'r hyn y gellid ei ddisgwyl ar sail profiadau pobl eraill. Dylid rhannu arferion da hefyd drwy ddefnyddio cyfryngau eraill i sicrhau bod enghreifftiau o arferion da (h.y. drwy ymgyrchoedd posteri) ar gael i rai sy'n cael eu heithrio'n ddigidol.

# Cyflwyniad

Ym mis Ebrill 2016, daeth Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) i rym. Nod y Ddeddf yw gwneud gwasanaethau cymdeithasol yn gynaliadwy drwy hyrwyddo llesiant pobl yng Nghymru. Mae'r Ddeddf yn annog rhoi ffocws o'r newydd ar atal ac ymyrraeth gynnar. Mae Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) 2015 hefyd yn bwysig o ran gwella llesiant pobl yng Nghymru a'i nod yw gwella llesiant cymdeithasol, economaidd, amgylcheddol a diwylliannol pobl Cymru.

**63%**
**Cynnydd disgwyliedig yn nifer y bobl hŷn mewn gofal preswyl rhwng 2013 a 2030**

Mae a bydd llawer o bobl yng Nghymru angen gofal personol, yn y gymuned, yn y cartref, neu mewn lleoliadau preswyl. Un o'r sbardunau allweddol wrth adolygu sut y darperir gofal cymdeithasol yw'r galw cynyddol am wasanaethau a'r gostyngiad parhaus mewn cyllid sector cyhoeddus.

Yn ôl ymchwil a gynhaliwyd gan LE Wales ar gyfer Llywodraeth Cymru, gan ddefnyddio rhagamcaniadau gan Daffodil[5], bydd nifer y bobl 65 oed a hŷn sy'n defnyddio gwasanaethau gofal amhreswyl (yn y gymuned) yn cynyddu o 44,000 i 67,000 (**cynnydd o 53%**) tra bydd nifer y bobl hŷn mewn gofal preswyl yn cynyddu o 11,700 i 19,000 rhwng 2013 a 2030 (**cynnydd o 63%**).

Mae llawer o ofal cymdeithasol yn cynorthwyo pobl o bob oed sydd â chyflyrau corfforol, gwybyddol neu gysylltiedig ag oedran i gyflawni gofynion domestig neu ofal personol. Mae gofal cymdeithasol yn rhan o system gofal a chymorth ehangach, sy'n cynnwys gofal cymdeithasol, y GIG, y system nawdd cymdeithasol, cymorth tai a gwasanaethau iechyd cyhoeddus.

Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn bryderus am y niwed gwirioneddol neu bosibl i bobl, yn enwedig pobl sy'n agored i niwed, wrth weithredu'r system o dalu am ofal cymdeithasol yng Nghymru, gan gynnwys asesiad o gymhwyster, asesiad ariannol, ymwybyddiaeth gyhoeddus a gallu i gynllunio ymlaen a deall sut i ddefnyddio'r system.

[5] Mae Daffodil yn system ar y we a ddatblygwyd gan y Sefydliad Gofal Cyhoeddus ar gyfer Llywodraeth Cymru.

# Y cyd-destun polisi a deddfwriaethol

## Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014

Mae'r ffordd y mae gofal cymdeithasol yn gweithredu yng Nghymru wedi newid ac mae Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) yn diddymu deddfwriaeth gyfredol gofal cymdeithasol ac yn rhoi setliad newydd ar waith sy'n ceisio gwella'r ffordd y darperir gofal cymdeithasol.

Cyflwynwyd y Ddeddf i fynd i'r afael â'r galw cynyddol am wasanaethau gofal cymdeithasol yng Nghymru yn sgil poblogaeth sy'n heneiddio ac i newid y ffordd y darperir gofal cymdeithasol i sicrhau bod gan bobl fwy o lais a rheolaeth. Roedd y Ddeddf yn ceisio mynd i'r afael â'r materion hyn, gwella prosesau gweinyddu'r system gofal cymdeithasol i awdurdodau lleol a rheoli costau cynyddol gofal cymdeithasol.

Mae'r Ddeddf yn rhoi dyletswyddau ar **awdurdodau lleol**, **byrddau iechyd** a **Gweinidogion Cymru** sy'n ei gwneud yn ofynnol iddynt weithio i hyrwyddo llesiant y rhai sydd angen gofal a chymorth, neu ofalwyr sydd angen cymorth, er mwyn sicrhau o ganlyniad i newidiadau mewn deddfwriaeth:

- bod gan bobl reolaeth dros ba gymorth sydd ei angen arnynt, a'u bod yn gwneud penderfyniadau am eu gofal a'u cymorth fel partner cyfartal;
- asesiad cymesur newydd yn canolbwyntio ar yr unigolyn;
- mae gan ofalwyr hawl gyfartal i asesiad ar gyfer cymorth â'r rhai sydd yn eu gofal;
- mae pawb yn gallu cael gafael yn hawdd ar wybodaeth a chyngor;
- pwerau i ddiogelu pobl yn gryfach;
- diwallu anghenion gofal a chymorth drwy ddefnyddio dulliau ataliol;
- awdurdodau lleol a byrddau iechyd yn dod at ei gilydd mewn partneriaethau statudol newydd i sbarduno integreiddio, arloesi a newid yn y gwasanaeth.

Mae **Adran 17** o Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) yn cyflwyno dyletswydd ar awdurdodau lleol i sicrhau **gwasanaeth gwybodaeth, cyngor a chymorth** sy'n darparu'r canlynol i bob unigolyn yn eu hardal:

- gwybodaeth, cyngor a chymorth i alluogi unigolion i wneud cynlluniau i ddiwallu eu hanghenion gofal a chymorth neu i ofalwr ddiwallu eu hanghenion cymorth nawr ac yn y dyfodol;
- gwybodaeth, cyngor a chymorth sy'n hygyrch i'r unigolyn hwnnw.

Mae'n rhaid i'r gwasanaeth ddarparu gwybodaeth am:

- sut mae'r system gymorth yn cael ei gweithredu yng Nghymru ac yn lleol;
- y mathau o ofal a chymorth sydd ar gael yn lleol, gan gynnwys y gwasanaethau ataliol amrywiol;
- sut y gall unigolion gael gafael ar y gwasanaethau a'r mecanweithiau cymorth hyn;
- sut y gall unigolion fynegi pryderon am eu hunain neu eraill y mae'n ymddangos eu bod angen gofal a chymorth, neu gymorth yn achos gofalwr.

Dylai'r gwasanaethau gwybodaeth, cyngor a chymorth fod ar waith erbyn mis Ebrill 2017.

## Talu am Ofal Cymdeithasol

Yn wahanol i ofal y GIG, ni ddarperir gofal personol am ddim o'r man darparu drwy gyllid treth ac Yswiriant Gwladol. Gall y rhai sy'n gallu ei fforddio ddewis trefnu gofal yn breifat. Fel arall, gall eu hawdurdodau lleol asesu unigolion ac, os yw eu hanghenion yn bodloni'r trothwyon a bennir gan yr awdurdod lleol, bydd yr awdurdod lleol yn trefnu gofal. Fodd bynnag, disgwylir i bobl gyfrannu at gost eu gofal o'u hincwm a'u cyfalaf. Mae'r swm sy'n rhaid i unigolion ei dalu yn seiliedig ar asesiad ariannol a gynhelir gan eu hawdurdod lleol. (h.y. prawf modd).

Ar gyfer gofal amhreswyl, mae'r gost i'r unigolyn yn cael ei gapio ar £60 yr wythnos (er bod rhai awdurdodau lleol yn pennu terfyn is). Ar gyfer gofal preswyl, mae'n ofynnol i bobl gyfrannu o'u hincwm (er enghraifft Pensiwn y Wladwriaeth, neu bensiwn galwedigaethol/preifat) (namyn £26.50[6] yr wythnos o lwfans personol) a'u cyfalaf ((mae hyn yn cynnwys gwerth unrhyw eiddo sydd ganddynt) namyn y £24,000 cyntaf.

Yn dilyn adolygiad o gyllid Gofal Cymdeithasol yn Lloegr gan Gomisiwn Dilnot[7], penderfynodd Llywodraeth y DU godi'r trothwy cyfalaf uchaf, sy'n £23,250 ar hyn o bryd. Bydd pobl yn Lloegr gyda chyfalaf rhwng £17,000 a £118,000 yn cyfrannu ar sail incwm 'tariff' a ragdybir. Mae llywodraeth y DU wedi penderfynu pennu terfyn gofal oes hefyd, sy'n £72,000 ar hyn o bryd.

Bwriadwyd cyflwyno'r newidiadau ym mis Ebrill 2016 fel rhan o Ddeddf Gofal 2014, ond mae llywodraeth y DU wedi cyhoeddi na fydd newidiadau'n cael eu cyflwyno tan fis Ebrill 2020. Mae'r oedi yn deillio o'r pwysau presennol ar gyllid sy'n wynebu awdurdodau lleol yn Lloegr. Fodd bynnag, mae rhywfaint o amheuaeth am y tebygolrwydd y bydd y terfyn yn cael ei gyflwyno yn 2020. Gweler, er enghraifft, y

[6] O fis Ebrill 2016 ymlaen

[7] Comisiwn ar Gyllido Gofal Cymdeithasol a Chyllid Cefnogi Gofal Tecach, Adroddiad y Comisiwn ar Gyllido Gofal Cymdeithasol a Chymorth, Gorffennaf 2011

blog gan y King's Fund[8] lle mae Richard Humphries, y Cyfarwyddwr Cynorthwyol, yn dweud bod y terfyn wedi'i anghofio'n llwyr nid ei ohirio. Mae'n cyfeirio at wahanol fathau o bwysau allanol sy'n ei gwneud yn annhebygol iawn i'r terfyn gael ei gyflwyno tua diwedd y senedd hon.

Ochr yn ochr â'r newidiadau disgwyliedig yn Lloegr, roedd Llywodraeth Cymru yn bwriadu cyhoeddi trefniadau newydd ar gyfer talu am ofal personol yng Nghymru, o fis Ebrill 2016 ymlaen. Fodd bynnag, cyhoeddodd Mark Drakeford AC, y Gweinidog Iechyd a Gwasanaethau Cymdeithasol, ddatganiad ym mis Mai 2015 yn gohirio cyflwyno'r diwygiadau, gan ddweud:

"*Wrth ystyried yr opsiynau posibl ar gyfer diwygio, mae angen bod yn eglur ar ddau fater allweddol cysylltiedig sydd â'r potensial i gael dylanwad materol ar natur ein gwaith diwygio, sef:*

- *yr ansicrwydd ynghylch manylder y gwaith diwygio a allai ddigwydd yn Lloegr. Mae Llywodraeth bresennol y DU wedi ymgynghori ar reoliadau a chanllawiau drafft i wneud y diwygiadau y mae am eu gweld o fis Ebrill 2016, ond nid yw wedi gwneud unrhyw gyhoeddiad am ganlyniad hyn cyn yr etholiad cyffredinol. O ganlyniad, mae ansicrwydd o hyd ynghylch pa fath o ddiwygio fydd yn digwydd yn Lloegr a pha gyllid canlyniadau a ddaw i Gymru o ganlyniad i gyllid newydd ar gyfer hyn. Mae hyn yn bwysig o ystyried y cyllid sylweddol sydd ynghlwm â'r opsiynau diwygio posibl a nodwyd gan LE Wales;*
- *dyfodol diwygio budd-daliadau lles a phensiynau. Mae Llywodraeth bresennol y DU wedi gwneud newidiadau sylweddol i weithrediad a lefel budd-daliadau lles a phensiynau yn y DU. Incwm o'r fath yw sut mae pobl gan fwyaf yn talu unrhyw dâl am y gofal a'r cymorth y maent yn ei dderbyn. O ganlyniad, ni fydd yn eglur tan ar ôl yr etholiad cyffredinol pa fath o waith diwygio y bydd Llywodraeth y DU yn ei wneud, ac effaith hyn ar incwm y rheini sydd yn y sefyllfa hon yng Nghymru. Ar ben hyn, mae dyfodol budd-daliadau lles yn y DU wedi cael ei gwestiynu yn dilyn y Comisiwn Smith ar ddyfodol datganoli yn yr Alban. Mae hyn yn creu mwy o ansefydlogrwydd o ran polisi yn y maes hwn. O ystyried yr ansicrwydd hwn, a pha mor bwysig yw'r wybodaeth hon, rwyf wedi dod i'r casgliad na fydd modd i mi wneud penderfyniad gwybodus ynghylch pa waith diwygio parhaol i'w gychwyn yng Nghymru nes bod modd datrys y materion hyn yn well.*

[8] http://www.kingsfund.org.uk/blog/2015/07/paying-care-back-square-one

*O ystyried yr amserlenni dan sylw, ni fydd yn bosibl cychwyn y gwaith diwygio hwn ym mis Ebrill 2016 fel y bwriadwyd yn wreiddiol".*

Yn y cyfamser, mae Llywodraeth Cymru wedi cyflwyno fframwaith asesu ariannol a chodi tâl diwygiedig (e.e. y canllawiau sy'n pennu faint ddylai pobl ei dalu am eu gofal), yn seiliedig ar yr hyn sydd yn Neddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru).

## Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) 2015

Mae cyflwyno Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) 2015 yn berthnasol i'r diwygiadau sy'n gysylltiedig â gofal cymdeithasol yng Nghymru hefyd. Nod y Ddeddf hon yw gwella llesiant cymdeithasol, economaidd, amgylcheddol a diwylliannol Cymru. Mae Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) a Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) yn rhoi pwyslais ar wella'r canlyniadau ar gyfer pobl yng Nghymru. Mae rhywfaint o orgyffwrdd rhwng gofynion asesu poblogaeth Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) ac asesiad llesiant yn Neddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) o safbwynt awdurdodau lleol ac mae llesiant pobl yn ganolog i gyflawni nodau'r naill Ddeddf a'r llall.

Mae Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) yn cyflwyno 7 nod llesiant[9]. I fesur y nodau mae'r Ddeddf yn ei gwneud yn ofynnol i Weinidogion Cymru bennu dangosyddion Cenedlaethol. Yn ddiweddar, ymatebodd Cyngor ar Bopeth Cymru i ymgynghoriad Llywodraeth Cymru ar "Sut mae mesur cynnydd cenedl? - Dangosyddion Cenedlaethol". Yn ein hymateb i Ddangosyddion Cenedlaethol Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) fe wnaethom bwysleisio pwysigrwydd ac effaith cyngor annibynnol gyda sicrwydd ansawdd wrth helpu pobl i ddeall yr opsiynau sydd ar gael, cyflawni llesiant, a cheisio cael unioni'r sefyllfa os nad yw gwasanaethau yn diwallu eu hanghenion.

Mae Llywodraeth Cymru yn rhagweld y bydd rhai elfennau o'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) a Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) yn ategu ei gilydd. Mae'r ddwy Ddeddf yn pennu disgwyliadau a gofynion i gyrff cyhoeddus gydweithio i wella canlyniadau ar gyfer pobl; gan gydnabod bod sawl sefydliad yn diwallu anghenion unigolion, teuluoedd a chymunedau.

---

[9] ● Y 7 nod yw; Cymru sy'n gyfrifiol yn fyd-eang; Cymru lewyrchus; Cymru gydnerth; Cymru iachach; Cymru sy'n fwy cyfartal; Cymru o gymunedau cydlynus a Chymru â diwylliant bywiog lle mae'r Gymraeg yn ffynnu.

## Etholiadau Cynulliad Cymru 2016

Ers cyhoeddi y byddai oedi cyn diwygio'r ffordd y telir am ofal yng Nghymru, mae etholiadau Cynulliad Cymru wedi'u cynnal ac mae Carwyn Jones, arweinydd Llafur Cymru wedi'i benodi yn Brif Weinidog a bydd yn arwain Llywodraeth Cymru. Ymrwymodd maniffesto Llafur Cymru i ddyblu'r cyfalaf y gall pobl ei gadw wrth fynd i ofal preswyl i £50,000. Gallai hyn olygu bod diwygiadau i dalu am ofal yng Nghymru yn ôl ar yr agenda ar gyfer y llywodraeth yng Nghymru cyn mis Ebrill 2020. Byddem yn croesawu unrhyw gyfle i gymryd rhan mewn trafodaeth am ddiwygio sut y telir am ofal yng Nghymru, ar sail ein canfyddiadau ymchwil, ein rôl fel hyrwyddwr defnyddwyr, ac adborth gan gleientiaid a gynghorir gan ein rhwydwaith o swyddfeydd Cyngor ar Bopeth lleol ledled Cymru.

# Ein Canfyddiadau

Roedd ffocws ein hymchwil ar nodi ac asesu profiadau ac anghenion pobl yng Nghymru sy'n derbyn gofal cymdeithasol neu a allai fod angen gofal cymdeithasol yn y dyfodol. Roedd hyn mewn cyfnod o newidiadau arfaethedig i'r trefniadau ar gyfer talu am ofal cymdeithasol yng Nghymru o fis Ebrill 2016 ymlaen, sydd wedi'u gohirio ers hynny. Fodd bynnag, mae ein canfyddiadau'n rhoi darlun hollbwysig i ni o safbwynt pobl yng Nghymru ar y system gofal cymdeithasol. Wrth ystyried ein canfyddiadau, rydym yn cydnabod bod newidiadau wedi'u gwneud i weithrediad gofal cymdeithasol drwy roi'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) ar waith. Mae ein hargymhellion, sy'n seiliedig ar ein canfyddiadau, yn adlewyrchu'r newidiadau hyn lle'n berthnasol ac mae ganddynt ffocws penodol ar ddiwallu anghenion gwybodaeth a chyngor pobl sy'n ceisio cael gafael ar ofal cymdeithasol neu sy'n ei gynllunio.

Mae ein canfyddiadau'n cynnwys;

- cael gafael ar ofal, gan gynnwys ble gellir cael gwybodaeth, cyngor a sut i drefnu asesiad;
- yr asesiad cymhwyster (anghenion gofal);
- yr asesiad ariannol;
- derbyn canlyniad yr asesiad, apeliadau a chwynion;
- talu am ofal.

# Cael Gafael ar Ofal

Er mwyn helpu i ddeall effaith y system gofal cymdeithasol yng Nghymru, archwiliodd ein hymchwil ansoddol brofiadau unigolion o gael gafael ar ofal, pa mor hawdd oedd iddynt gael yr wybodaeth a oedd ei hangen i wneud cysylltiad cychwynnol â gwasanaethau cymdeithasol ac i drefnu asesiad. Edrychwyd hefyd ar yr wybodaeth a oedd ar gael ar wefan pob awdurdod lleol, gan gynnwys rhifau ffôn a ffynonellau gwybodaeth bellach am wasanaethau gofal lleol. Gwnaed galwadau ffôn cwsmeriaid cudd i bob awdurdod lleol yng Nghymru, gan ddefnyddio'r rhifau ffôn a roddwyd ar wefannau awdurdodau lleol, i ddysgu pa mor hawdd yw derbyn gwybodaeth am gael gafael ar ofal a pha gamau oedd angen eu cymryd i drefnu asesiad.

Datgelodd ein hymchwil **nad oes llawer o bobl yn cynllunio ymlaen llaw ar gyfer eu hanghenion gofal**, ac o ganlyniad i hynny, pan fo'r amser yn dod pan fydd angen gofal ar unigolyn, dylai'r broses o chwilio am wybodaeth a chyngor ar sut i wneud hyn fod yn glir a syml. Ym mhrofiad cyfranogwyr, nid oedd hyn yn wir ym mhob achos. Dangosodd ein tystiolaeth bod diffyg canllawiau a gwybodaeth mewn perthynas â chael gafael ar ofal a sut i fynd ati i gysylltu â'r bobl briodol i gael cymorth. Roedd hyn yn wir ar gyfer pobl a oedd yn derbyn gofal, gofalwyr a'r rhai nad oedd yn derbyn cymorth gofal eto.

Roedd yn amlwg hefyd o'n hymchwil i wefannau awdurdodau lleol bod **lefel** yr wybodaeth a oedd ar gael a **fformat ac eglurder** yr wybodaeth yn **amrywio'n fawr** rhwng awdurdodau lleol. Roedd gan lawer wybodaeth sylfaenol ar eu gwefannau am gael gafael ar ofal, ond **nid oedd gan 5 awdurdod lleol unrhyw wybodaeth, neu wybodaeth a oedd yn anodd cael gafael arni/ei llywio** (h.y. dim llywio syml neu glir o'r hafan). Mae'r canfyddiadau hyn yn cael eu cefnogi gan ein hymchwil gyda phobl sydd eisoes yn derbyn gofal a'r rhai sydd angen gofal, fel y trafodir yn y paragraffau canlynol.

Yn ein hymchwil gyda'r rhai a oedd yn derbyn gofal, gwelsom eu bod yn rhannu'n fras i ddau grŵp:

- y rhai a oedd yn dechrau ystyried eu hopsiynau gofal yng nghyfnodau cynnar neu uniongyrchol salwch (roedd hyn yn amlwg iawn ymysg cyflyrau dirywiol fel Alzheimer);
- y rhai na weithredodd tan iddynt gael eu gorfodi i wneud gan fod eu hiechyd meddwl neu gorfforol yn gwaethygu'n gyflym.

*'Tan i rywbeth eich taro, dydych chi ddim yn trafferthu meddwl am bethau. A dim ond pan mae rhywbeth gwirioneddol erchyll yn digwydd, yna rydych chi'n dechrau meddwl am gael cefnogaeth a chymorth gan rywun.'*

**Menyw, Derbynnydd Gofal, Amhreswyl, 75-84 oed**

**Bocs 1. Hugh 87 oed a Nick 45 oed, derbynwyr gofal yn rhannu'n ddau grŵp ....**

Y rhai sy'n dechrau ystyried eu dewisiadau gofal yn gynnar...

Mae Hugh yn 87 oed ac yn byw mewn cartref preswyl. Trefnodd ei ferch apwyntiad gyda'r meddyg pan ddaeth yn amlwg bod Hugh yn dechrau colli ei gof. Cawsant wybod bod clefyd Alzheimer arno, a dywedwyd wrth ei ferch am gysylltu â'r awdurdod lleol ar ôl ymweld â'r meddyg teulu. Aeth y gwasanaethau cymdeithasol ati i gynnal asesiad wedyn.

Meddai merch Hugh: 'Rwy'n meddwl eu bod eisiau gweld pa mor wael oedd y dementia achos dydyn nhw ond yn derbyn pobl cyn iddyn nhw gyrraedd pwynt penodol gyda'r cyflwr. Mae modd deall beth mae e'n ei ddweud felly roedd yn iawn, ac mae'n llawer gwell na rhai eraill yma.'

Y rhai nad ydynt yn ceisio cael gafael ar ofal nes cael eu 'sbarduno' i wneud hynny...

Tad sengl 45 oed yw Nick. Mae Nick bron yn gyfan gwbl ddall. Cysylltodd â'r gwasanaethau cymdeithasol sawl blwyddyn yn ôl pan sylweddolodd fod ei gyflwr wedi dirywio cymaint fel na allai ofalu am ei dri phlentyn yn effeithiol bellach, ac y gallent fod mewn perygl o ganlyniad.

Meddai Nick: 'Roeddwn i'n rheoli teulu ac roedd y cyflwr hwn arna i. Doeddwn i ddim yn gallu gyrru mwyach. Roedd yn anodd iawn. Roeddwn i'n llosgi fy hun wrth geisio coginio ac yn wynebu pob math o broblemau.'

Teimlai'r rhan fwyaf o'r rhai a gymerodd ran yn ein hymchwil bod diffyg gwybodaeth a chanllawiau ar sut i gael gafael ar ofal. Credai rhai pobl y dylent holi eu meddyg teulu am ofal. Datgelodd ein hymchwil bod **23%** yn dweud mai eu practis meddyg teulu oedd y prif le y byddent yn mynd iddo i ofyn am wybodaeth neu gyngor pe bai ganddynt anghenion gofal yn y dyfodol, yna'r rhyngrwyd (**20%**) a'r Awdurdod Lleol (**20%**). Gofynnwyd pa ffynonellau gwybodaeth eraill y byddent yn eu defnyddio pe bai ganddynt anghenion gofal yn y dyfodol, a dywedodd **30%** eu meddyg teulu, dywedodd **21%** eu teulu neu ffrindiau a dywedodd **21%** eu hawdurdod lleol. Gweler y siart isod.

**Ffigur 1 - Ffynonellau gwybodaeth a chyngor ar gyfer anghenion gofal yn y dyfodol**




Mae gwybod ymhle a sut i gael gafael ar wybodaeth a chyngor yn hanfodol i sicrhau bod pobl yn teimlo bod ganddynt y gallu i ofyn am gymorth cyn gynted â phosibl. Fel y dangosir uchod, mae llawer o bobl yng Nghymru yn dweud y byddent yn cysylltu â'u meddyg teulu am wybodaeth a chyngor ar ofal cymdeithasol, naill ai fel prif ffynhonnell gyngor neu fel ffynhonnell ychwanegol. Rydym yn gwybod o ymchwil flaenorol[10] bod oddeutu **19%** o amser apwyntiadau meddygon teulu yn cael ei dreulio ar faterion nad ydynt yn gysylltiedig ag iechyd. Gallai sicrhau bod gwybodaeth a chyngor ar gael yn haws helpu i ysgafnhau'r pwysau ar feddygon teulu, gallai cydleoli mwy o wasanaethau nad ydynt yn gysylltiedig ag iechyd mewn meddygfeydd teulu fod yn un enghraifft. Er enghraifft, mae gan Cyngor ar Bopeth Cymru brofiad o hyn drwy'r gwasanaeth Cyngor Da, Byw'n Well sy'n darparu cyngor i bobl mewn lleoliadau gofal sylfaenol ledled Cymru. Mae'r prosiect yn cael ei gyllido gan Lywodraeth Cymru a'i gynnal gan Cyngor ar Bopeth Cymru.

Roedd materion eraill a nodwyd gan ein hymchwil a oedd yn gysylltiedig â chael gafael ar ofal yn cynnwys:

- dryswch cyffredinol ynghylch y gwahanol fathau o gymorth sydd ar gael;
- sut i gael gafael ar gymorth;
- diffyg ymwybyddiaeth a gwybodaeth benodol am gael gafael ar ofal a gwasanaethau awdurdod lleol.

[10] A very General Practice How much time do GPs spend on issues other than health? Mai 2015

*'Doeddwn i ddim yn gwybod sut [i gysylltu â'r awdurdod lleol]. Doeddwn i ddim yn gwybod sut i fynd ati, pwy i ffonio a dweud 'rwy'n teimlo fel lladd fy hun, rwy'n gofalu am fy ngŵr, all rhywun fy helpu? Dydych chi ddim yn gwneud hynny".*

**Menyw, gofalwr i'w gŵr ac anghenion gofal ond ddim yn derbyn gofal, 35-64 oed**

O ganlyniad i'n canfyddiadau, rydym yn gwybod bod **cael gafael ar wybodaeth glir a syml yn hollbwysig i sicrhau bod pobl yn gallu cael gafael ar y cyngor a'r cymorth gofal priodol cyn gynted â phosibl**. Gall gorfod chwilio yma a thraw am wybodaeth a chyngor arwain at oedi diangen yn y cymorth sy'n cael ei gynnig. Yn ei dro, gallai hyn effeithio'n uniongyrchol ar lesiant pobl ag anghenion gofal a'u gofalwyr.

Hefyd, rydym yn gwybod o'n hymchwil bod pobl yn cael **trafferth deall y cysylltiad rhwng gwasanaethau amrywiol (a sefydliadau trydydd sector) ac i ddeall cymhwyster ar gyfer taliadau budd-daliadau amrywiol**. I rai unigolion, efallai y bydd sawl sefydliad yn cyfrannu at ddarparu eu gofal, a gall hyn beri dryswch i'r unigolyn a'i deulu/ffrindiau o ran gwybod â phwy y dylent gysylltu. Gallai hyn roi'r argraff o ddiffyg integreiddio a chydweithio rhwng y gwahanol sefydliadau, hyd yn oed pan nad yw hynny'n wir. Byddai sicrhau bod gwasanaethau wedi'u hintegreiddio ac felly atal pobl rhag teimlo eu bod yn cael eu trosglwyddo o un person i'r llall yn helpu i beidio â drysu pobl o ran â phwy y dylent gysylltu â nhw a phryd.

## Trefnu asesiad

Pan ofynnwyd sut roedd pobl yn teimlo am drefnu asesiad, datgelodd ein hymchwil y gallai hynny achosi problemau oherwydd anawsterau'n gysylltiedig â:

- cysylltu â'r adran gywir o fewn awdurdod lleol;
- galwadau ffôn ddim yn cael eu hateb;
- trosglwyddo ymholiadau o un person i'r llall.

*'Byddwch yn gwneud apwyntiad i ffonio swyddfa, yna siarad â rhywun gwahanol bob tro a dweud yr un peth drosodd a throsodd ac mae hynny mor rhwystredig'.*

**Menyw, grŵp ffocws incwm cymysg, 65-75 oed**

Roedd gennym un enghraifft benodol (o awdurdod lleol) a oedd yn ymddangos fel eu bod yn ceisio osgoi annog pobl i gael gafael ar eu gwasanaethau. Yn yr enghraifft hon, roedd menyw wybodus iawn am drefnu asesiad wedi cysylltu â'r awdurdod bob wythnos tan iddynt ildio a chytuno i drefnu apwyntiad.

*'Dydw i ddim yn fodlon bod yn ddistaw ac mae gen i rywun, ond beth am yr hen fenyw fach a ffoniodd fis Awst a ddywedodd, "Rydw i'n cael trafferth gwirioneddol, mae gwir angen help arna i," ac ni ddigwyddodd dim ers hynny gan nad oes neb wedi gwneud unrhyw beth? Dyw hynny ddim yn dderbyniol a dydy hi ddim am fod y math o berson fydd yn dal ati i ffonio, dydy hi ddim am greu ffwdan i'r bobl glên.'*

**Menyw, Derbynnydd Gofal, Preswyl, 45-64 oed**

**Dylai fod yn hawdd trefnu asesiad**, ond dangosodd ein hymchwil pan fo asesiadau yn cael eu trefnu ar ran y person sydd ag anghenion gofal, ei fod yn cael ei werthfawrogi'n fawr. Roedd enghreifftiau da hefyd o gymorth gan y trydydd sector wrth drefnu asesiadau. Fodd bynnag, nid oedd llawer a gyfrannodd at ein hymchwil yn ymwybodol o'r cymorth a oedd ar gael gan sefydliadau trydydd sector.

Roedd y profiadau gorau o gael gafael ar ofal wedi'i gael gan y cyfranogwyr a oedd wedi profi **cyfathrebu di-dor a chydgysylltiedig rhwng partïon, h.y. meddygon teulu, gwasanaethau cymdeithasol (gweithwyr cymdeithasol yn bennaf) a sefydliadau trydydd sector a oedd yn rhoi gwybodaeth a galluogi'r unigolion i gael gafael ar gymorth awdurdod lleol.**

## Materion eraill

Tynnodd rhai ymatebwyr sylw at anawsterau ychwanegol, gan gynnwys:

- y pontio rhwng gofal cymdeithasol plant i oedolion,
- angen bod yn glir ynglŷn â'r gwahaniaeth rhwng angen meddygol ac angen gofal,
- y cymorth a'r cyngor trydydd parti/trydydd sector sydd ar gael;
- gallu deall yr wybodaeth sydd ar gael.

Yn wir, anhawster a grybwyllwyd yn gyffredin gan ein cyfranogwyr ymchwil yw nad oedd ffynhonnell wybodaeth unigol, ganolog ar gyfer derbyn cyngor ar gael gafael ar ofal.

*'Dydyn ni ddim yn gwybod i ble i fynd. Byddai'n braf mynd i le fel Cyngor ar Bopeth a dweud, edrychwch, mae gennym ni'r broblem hon, i ble allwn ni fynd? Yn hytrach na mynd i wahanol adrannau a nhw'n dweud nad nhw yw'r adran ar ein cyfer ni,'*

**Dyn, gofalwr ei fab sydd ag anghenion gofal ond sydd ddim yn derbyn gofal, 85+ oed**

Rydym yn cydnabod bod newidiadau'n cael eu cyflwyno drwy Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) sy'n ceisio gwella darpariaeth gwybodaeth a chyngor gan awdurdodau lleol ac felly gwella profiadau pobl sy'n ceisio cael gafael ar ofal. Dylai'r gwasanaeth gwybodaeth, cymorth a chyngor[11] fynd i'r afael â nifer o'r materion a nodwyd yn ein hymchwil. Byddai gallu cael gafael ar yr holl wybodaeth leol mewn un lle yn ei gwneud yn haws i gyfeirio unigolion ag anghenion gofal a'u teuluoedd i gael y gwasanaethau cymorth cywir cyn gynted â phosibl a chyn i'r sefyllfa droi'n argyfwng.

Mae'n ofynnol yn ôl Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) i sefydlu byrddau partneriaeth rhanbarthol, a bydd y byrddau yn ceisio sicrhau bod awdurdodau lleol a Byrddau Iechyd Lleol yn cydweithio'n effeithiol. Rhan o'u gwaith fydd sicrhau bod y gwasanaeth gwybodaeth, cyngor a chymorth ar gael i bawb ac yn diwallu anghenion y boblogaeth leol. O'n profiad a'n harbenigedd mewn darparu gwybodaeth a chyngor, rydym yn gwybod pa mor bwysig yw gwneud hynny'n iawn a sicrhau bod safonau cenedlaethol [12] yn cael eu bodloni.

Gallai gwefan DEWIS Cymru www.dewis.cymru, sy'n disgrifio ei hun fel ***Y lle i fynd am wybodaeth a chyngor am eich llesiant – neu os ydych chi am wybod sut y gallwch chi helpu rhywun arall,*** fod yn fan cychwyn da i wella llesiant pobl Cymru. Mae gan DEWIS Cymru y potensial i ddarparu gwasanaeth un stop ar-lein i bawb yng Nghymru (byddai angen darpariaeth amgen ar gyfer pobl nad oes ganddynt fynediad i'r we hefyd). I gyflawni hyn bydd DEWIS Cymru angen adnoddau sylweddol ac ymrwymiad hirdymor gan Lywodraeth Cymru i gyllid parhaus. Mae'n bwysig hefyd sicrhau bod y wefan yn gywir, yn gyfoes, yn cael ei safoni ac yn cyrraedd safonau Llywodraeth Cymru mewn perthynas â darparu gwybodaeth â sicrwydd ansawdd.

Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn deall bod gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor yn cael eu datblygu ledled Cymru, ac y bydd awdurdodau lleol yn gweithredu gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor yn llawn erbyn mis Ebrill 2017. Gan hynny, rydym wedi nodi nifer o feysydd lle gallai bod angen monitro gofalus wrth ddatblygu'r gwasanaeth a'i sefydlu. Gallai awdurdodau lleol ystyried pwy sydd yn y sefyllfa orau yn eu hardal leol i gynnig gwasanaethau gwybodaeth a chyngor gan y gallai sefydliadau eraill fod mewn gwell sefyllfa o bosibl, a gyda mwy o brofiad uniongyrchol, i gynnig gwybodaeth a chyngor yn y gymuned.

---

[11] Adran17, Rhan 2 o Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014.
[12] Fframwaith Ansawdd Gwybodaeth a Chyngor Cymru

# Yr Asesiad Cymhwyster

Mae'n rhaid asesu unigolion cyn iddynt allu cael gafael ar ofal. Diben yr asesiad cymhwyster (anghenion gofal) yw canfod pa lefel o ofal sydd ei hangen. Ar ôl i unigolion gael asesiad cymhwyster ac y penderfynir bod ganddynt anghenion gofal, efallai y byddant yn cael asesiad ariannol i weld faint, os o gwbl, sydd angen iddynt ei gyfrannu at gost eu gofal. Rydym yn trafod asesiadau ariannol yn yr adran nesaf.

Yn yr adran hon rydym yn ystyried effaith y gwahanol asesiadau ar brofiadau pobl. Yn fras gellir dosbarthu'r dulliau asesu a drafodir gan ein cyfranogwyr ymchwil i ddau gategori, sef dull 'bocs ticio' rhagnodol a dull 'canolbwyntio ar y person' nad yw'n un rhagnodol. Roedd gan y bobl a gymerodd ran yn ein hymchwil wahanol brofiadau o'r broses asesu anghenion, er bod y **cyfranogwyr yn eithaf positif am y profiad asesu ar y cyfan.**

Mae ein hymchwil yn tynnu sylw at ddiffyg **gwybodaeth glir a hygyrch** sy'n egluro beth yn union yw'r broses asesu anghenion gofal a beth sy'n digwydd yn ystod y broses hon. Roedd y cyfranogwyr a oedd wedi bod drwy'r asesiad anghenion gofal yn teimlo nad oedd ganddynt **ddigon o wybodaeth am y broses** ymlaen llaw. Cyn yr asesiad, dywedodd nifer o bobl a holwyd ar gyfer ein hymchwil nad oeddynt yn ymwybodol o ba gymorth y gallent fod â hawl iddo neu beth sydd ar gael iddynt.

O'n hymchwil, roedd yn glir o safbwynt y rhai hynny a oedd yn ceisio cael gafael ar gymorth gan y system gofal cymdeithasol am y tro cyntaf ei bod yn gallu bod yn system gymhleth iawn. Dywedodd pobl a oedd yn ceisio cael gafael ar ofal cymdeithasol nad oeddynt yn ymwybodol ar y cyfan o'r hyn a fyddai'n digwydd yn ystod yr asesiad a'u bod yn cael anhawster gwybod â phwy i gysylltu yn eu hawdurdod lleol i ddechrau'r asesiad. Nid oedd hyn yn wir ym mhob awdurdod lleol, ac roedd rhai enghreifftiau o allu cysylltu'n hawdd a syml.

Nid oedd llawer o bobl chwaith yn ymwybodol bod yr asesiad anghenion a'r asesiad ariannol yn cael eu cynnal ar wahân ac y gallent fod angen pwyntiau cyswllt gwahanol. Mae hyn yn wir hefyd am yr unigolion hynny sydd wedi'u hasesu ar gyfer cymorth awdurdod lleol yn ystod cyfnod yn yr ysbyty.

Yn ein hadolygiad o wefannau awdurdod lleol, gwelsom fod yr wybodaeth a oedd ar gael yn eithaf amrywiol, roedd rhai o wefannau'r 22 awdurdod lleol yn darparu manylion clir a syml am y broses asesu, ond nid oedd gan wefannau **o leiaf 7 awdurdod lleol unrhyw fanylion, neu fanylion cyfyngedig iawn, am y broses asesu**. Mae'r canfyddiadau hyn hefyd yn cael eu cefnogi gan safbwyntiau ein cyfranogwyr ymchwil, sy'n dangos nad oedd pobl yn wybodus iawn am y broses cyn

Doedd gan **7 allan o 22** gwefan awdurdod lleol ddim neu ychydig iawn o fanylion am yr asesiad

derbyn gofal. Mae'r siart isod yn dangos nad oedd **67%** yn wybodus iawn am y broses asesu ymlaen llaw, tra bod **19%** yn teimlo'n wybodus ac **11%** yn teimlo'n wybodus iawn. Gweler Ffigur 2 isod.

**Ffigur 2. Pa mor wybodus oeddech chi am y broses asesu?**




Fel rhan o'n hymarfer cwsmer cudd, ffoniwyd pob awdurdod lleol yng Nghymru. Ychydig iawn o awdurdodau lleol oedd yn darparu gwybodaeth neu ganllawiau ar sut i baratoi ar gyfer asesiad.

**Bocs 2 Pauline, 39 oed**
Mae Pauline yn ei thridegau hwyr, ac mae Osteoporosis ac Osteoarthritis wedi effeithio arni ers ei hugeiniau cynnar. Ar hyn o bryd mae hi'n byw mewn tŷ rhent preifat gyda'i phedwar plentyn, ac mae ei phartner yn ei helpu i ofalu amdanynt. Mae'r sefyllfa ariannol yn anodd, ac mae incwm y teulu yn dod o fudd-daliadau yn bennaf. Cafodd Pauline asesiad gan y gwasanaethau cymdeithasol dros flwyddyn yn ôl, ac fe gafodd wybod nad oedd hi'n bodloni'r meini prawf cymhwysedd.

Er nad oedd profiad Pauline o'r asesiad o anghenion yn arbennig o negyddol, nid oedd ganddi ddigon o wybodaeth i sicrhau ei bod yn gallu cyfleu ei hanghenion yn glir.

Mae Pauline'n credu y byddai wedi gallu manteisio'n well ar yr asesiad o'i hanghenion pe bai wedi cael mwy o wybodaeth a chyngor ymlaen llaw. Pe bai wedi gwybod am y mathau o ofal a chymorth roedd ganddi hawl iddynt, byddai wedi rhannu'r wybodaeth honno â'i gweithiwr cymdeithasol. Hefyd, mae Pauline'n credu y byddai wedi apelio yn erbyn y penderfyniad pe bai'n gwybod at bwy i droi a sut i wneud hynny.

## Yr asesiad

Cynhelir yr asesiadau cymhwyster yng nghartrefi pobl fel arfer ac mewn ysbytai o bryd i'w gilydd. Yn y lleiafrif o achosion, cynhaliwyd asesiadau mewn swyddfeydd cyngor. **Yn yr achosion hyn, teimlwyd fod teithio i swyddfeydd mewn canol trefi yn feichus i'r cyfranogwyr**. Roedd **amseriad** asesiadau yn achosi anawsterau i rai hefyd oherwydd effaith hyn ar eu gallu i wneud tasgau cyffredin bob dydd. Er enghraifft, gofynnwyd i un person a oedd yn cymryd rhan yn ein hymchwil aros yn y gwely am fwy o amser nag y byddai fel arfer er mwyn i'r aseswr ei hasesu'n codi o'i gwely. Er bod y person wedi egluro y byddai hyn yn **achosi problemau**, dywedwyd wrthi mai dyma'r unig amser y gellid cynnal yr asesiad.

Mae gennym rai pryderon, ar sail ein hymchwil, bod amseriad a lleoliad yr asesiadau'n cael effaith niweidiol ar y broses asesu gyffredinol ac y gallai arwain at **effaith negyddol ar lesiant yr unigolion**. Mae hyn yn arbennig o bwysig yn y dull newydd o asesu. Os yw unigolion dan bwysau oherwydd amseriad neu leoliad eu hasesiadau, gallai effeithio'n niweidiol ar ba mor dda maent yn egluro eu hanghenion wrth yr aseswyr. Mae hyn yn berthnasol iawn gan fod yr asesiadau newydd yn dechrau o'r rhagdybiaeth mai oedolyn sydd yn y sefyllfa orau i roi barn ar ei lesiant ei hun.

**Bocs 3 - Albert, 59 oed**

Mae Albert yn ei bumdegau hwyr, ac mae ei olwg wedi bod yn dirywio ers 2011. Wrth i'w olwg waethygu ac oherwydd ei olwg twnnel, mae angen cymorth arno i ofalu am ei blant, gofalu am y tŷ, a pharhau â'i yrfa ran-amser. Mae wedi gwneud cais am gymorth gan yr awdurdod lleol, ond nid yw'n derbyn unrhyw gymorth ar hyn o bryd. Mae'n dibynnu ar gymorth ei bartner.

Mae Albert wedi cael dau asesiad o anghenion gofal, ac roedd y ddau'n wahanol iawn ac wedi arwain at ganlyniadau gwahanol.

Cafodd yr asesiad cyntaf ei arwain gan unigolyn gyda chyfathrebu dwy ffordd da, ac roedd yr asesydd yn deall anghenion Albert. Roedd yr ail asesiad yn wahanol iawn ac yn asesiad 'ticio bocsys' gyda chyfathrebu un ffordd, ac o ganlyniad roedd y ddealltwriaeth o anghenion Albert yn gyfyngedig.

Mae Albert yn meddwl y dylid cynnal yr asesiad o anghenion mewn sefyllfaoedd amrywiol, ac y dylid sicrhau bod gan aseswyr wybodaeth ddigonol am anghenion gwahanol er mwyn eu hasesu'n briodol. Iddo ef, agwedd yr asesydd oedd y ffactor allweddol.

## Dull asesu

### Asesiadau ticio bocsys

Barn gyffredinol cyfranogwyr sy'n ateb set safonol o gwestiynau yn ystod eu hasesiad oedd bod yr asesiad yn teimlo fel ymarferiad 'ticio bocsys' sy'n gosod pobl mewn 'bocsys gweinyddol cyfleus'. O ganlyniad, roedd yr asesiad yn annhebygol o ddarparu canlyniad pwrpasol sy'n darparu'n ddigonol ar gyfer holl anghenion gofal yr unigolyn. Yn benodol, **roedd cyfranogwyr iau (30-60 oed) yn teimlo'n fwy anfodlon na neb arall â'r asesiad 'ticio bocsys'.** Efallai bod hyn am fod gan bobl iau ddisgwyliadau uwch gan wasanaethau cyhoeddus a'r hyn y dylent ei gynnig. Roedd yr agwedd hon yn amlwg yn ein gwaith ymchwil.

> *'Nid yw'r system yn gwybod sut i ymateb i bethau anarferol. Mae disgwyl i bobl ymddwyn yn gwerylgar i gael ymateb priodol gan y system.'*
>
> **Dyn, gŵr i rywun nad yw'n derbyn gofal, 18-34 oed**

> *'Roeddwn i'n teimlo fel rhif – dyma ni, dyma un arall, gadewch i ni weld beth mae hon ei angen. Doedd dim elfen bersonol...dim sylw i'm dymuniadau i. Dim byd am fy nheimladau i. Dim ond cam ffurfiol oedd e – gwneud y gwaith yn y ffordd rataf bosibl.'*
>
> **Menyw sy'n derbyn gofal, 35-64 oed**

### Asesiadau dan arweiniad pobl

Nid oedd pob asesiad o anghenion ein cyfranogwyr yn dilyn set o gwestiynau safonol, a gofynnwyd i rai cyfranogwyr fynegi eu hanghenion gofal eu hunain. **Roedd y cyfranogwyr yn gwerthfawrogi asesiadau dan arweiniad pobl yn fwy,** er bod teimlad cyffredinol bod yr asesiadau hyn yn **rhoi gormod o gyfrifoldeb ar yr unigolyn a'i allu i gyfleu pa cymorth sydd ei angen arno.** Roedd yn syndod i rai pobl a gymerodd ran eu bod yn gorfod cyfleu eu hanghenion gofal canfyddedig yn hytrach na dim ond darparu gwybodaeth am eu hanhwylderau.

Hefyd, roedd llawer o bobl yn teimlo y byddai'n fanteisiol iddynt wybod ymlaen llaw am y gwasanaethau sydd ar gael a sut y gallent eu helpu. O ganlyniad, ni dderbyniodd rhai pobl ofal yn unol â'u hanghenion. Mae'r ffaith hon yn bwysig gan fod y Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithas a Llesiant yn newid sut mae asesiadau[13] yn cael eu cynnal. Mae'r dull asesu newydd yn seiliedig ar y ragdybiaeth mai oedolyn sydd yn y sefyllfa orau i bwyso a mesur ei lesiant ei hun.

Er bod y dull gweithredu newydd i'w groesawu, ar sail canfyddiadau ein gwaith ymchwil rydym yn pryderu am y posibilrwydd y gall y broses fod **yn rhoi gormod o**

[13] Rhan 3, y Cod Ymarfer (asesu anghenion unigolion)

**bwyslais ar allu pobl i wybod pa gymorth sydd ei angen arnynt a mynegi hynny.** Hefyd, mae tystiolaeth o'n rhwydwaith Cyngor ar Bopeth lleol yn dangos effaith pobl yn methu â gwerthfawrogi eu hanghenion gofal yn llawn. Mae methu â gwerthfawrogi anghenion gofal yn llawn yn cael effaith ar iechyd yn fwy cyffredinol ac mae'n gallu achosi niwed mwy hirdymor i'r unigolyn sydd angen cymorth a'i ofalwr/teulu. Hefyd, gallai olygu bod mwy o bobl yn gofyn am ailasesiad os nad ydynt yn teimlo'n wybodus neu wedi paratoi'n briodol ar gyfer eu hasesiad cyntaf.

Mae Arolygiaeth Gofal a Gwasanaethau Cymdeithasol Cymru (AGGCC) yn gwneud gwaith rheoleiddio ac arolygu er mwyn gwella gofal i oedolion, gofal plant a gwasanaethau cymdeithasol ar gyfer pobl yng Nghymru. Mae Cyngor Gofal Cymru[14] yn rheoleiddio'r gweithlu gofal cymdeithasol ac mae Asiantaeth Gwella'r Gwasanaethau Cymdeithasol (SSIA) wedi ymrwymo i gefnogi gwelliant a newid sy'n gweddnewid y system gofal cymdeithasol yng Nghymru.

Mae cyfraniad AGGCC, Cyngor Gofal Cymru a'r SSIA yn hanfodol i helpu i sicrhau bod y dulliau newydd o asesu anghenion gofal pobl yn cael eu cyflwyno'n briodol ac yn arwain at ddull gweithredu cyson o dan y rheoliadau newydd. Rydym yn sylweddoli bod y broses o reoleiddio gofal iechyd a gofal cymdeithasol yng Nghymru yn newid er mwyn sicrhau bod y Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn cael ei rhoi ar waith yn briodol.

> *'Doedden ni ddim yn gwybod pa fath o gymorth oedd ar gael. Roedden ni'n credu mai dyna oedd holl ddiben y broses... Bydden ni'n rhoi'r holl wybodaeth berthnasol iddyn nhw....a bydden nhw'n gwneud yr asesiad ac yn dweud - "gallai'r gwasanaeth hwn fod ar gael i chi, gallai hyn eich helpu ac ati." - Ond chawsom ni ddim byd tebyg i hynny. Y cyfan a ddywedwyd wrthym oedd nad oedden nhw'n gallu gwneud dim i ni'*
>
> **Dyn sy'n derbyn gofal amhreswyl, 35-64 oed**

## Yr Asesydd

Mae derbyn asesiad gan rywun sy'n deall cyflyrau iechyd yr unigolyn a'r system gofal cymdeithasol yn cael dylanwad sylweddol ar brofiad pobl o'r asesiad, fel y dangosodd ein gwaith ymchwil. Gall hyn olygu bod mwy nag un person yn cynnal yr asesiad, yn hytrach na disgwyl i'r asesydd feddu ar wybodaeth helaeth am iechyd a gofal cymdeithasol. Mae'n dda gennym weld bod y Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn cydnabod hyn (a'i bod yn rhoi trefniadau ar waith i'w

[14] Bydd y Cyngor Gofal yn newid i Gofal Cymdeithasol Cymru o fis Ebrill 2017 ymlaen. Mae rhagor o wybodaeth ar gael ar http://www.cgcymru.org.uk/beth-fydd-gofal-cymdeithasol-cymru-yn-ei-wneud/?force=2&bc=5115:5116|

hwyluso), gan fod ein gwaith ymchwil yn dangos **bod profiad pobl o asesiadau yn gwella'n sylweddol pan fo hyn yn digwydd**.

## Cefnogaeth yn ystod yr asesiad

Dangosodd ein gwaith ymchwil fod pobl yn awyddus iawn yn aml i sicrhau bod 'wyneb cyfeillgar' yn bresennol yn yr asesiad o'u hanghenion, ac roedd ffrind neu aelod o'r teulu yn bresennol gyda llawer o bobl. Roedd yn ymddangos bod presenoldeb ffrind neu aelod o'r teulu yn **helpu i gefnogi'r unigolyn sydd angen gofal i fynegi a rhannu ei angen am gymorth.** Yn benodol, teimlwyd bod hyn yn bwysig iawn ar gyfer pobl hŷn a phobl ag anawsterau dysgu.

Hefyd, gwelwyd enghreifftiau o eiriolwyr anffurfiol a ffurfiol yn gwneud cyfraniad pwysig at yr asesiad. Yn ôl ein gwaith ymchwil yn ymwneud â'r rhai sy'n derbyn gofal, **roedd canlyniad cadarnhaol yn deillio o'r asesiad pan oedd eiriolwr yn gallu tynnu sylw'r asesydd at heriau penodol sy'n wynebu'r unigolyn.** Er nad oedd llawer o enghreifftiau o eiriolwyr ffurfiol yn mynychu asesiadau, nodwyd eu bod yn gallu **tynnu sylw at hawliau'r unigolyn a'u cyfleu** i'r asesydd.

Mae'n ddiddorol nodi bod pobl ag anghenion gofal a gafodd eu cyfweld ar gyfer ein gwaith ymchwil yn dweud y byddent wedi hoffi cael eiriolwr yn bresennol yn yr asesiad, ac y byddai ei gymorth a'i gefnogaeth wedi bod yn hynod ddefnyddiol. Eto, roedd hyn yn bwysig iawn ar gyfer pobl hŷn a phobl ag anableddau dysgu yn benodol.

Un o'r rhesymau am y ffaith nad oedd eiriolwyr yn mynychu asesiadau oedd diffyg ymwybyddiaeth pobl ohonynt. **Yn gyffredinol, nid oedd pobl yn gwybod sut i gysylltu ag eiriolwr ffurfiol.**

> *'I mi, mae eiriolwr yn berson sy'n deall y system, yn gallu siarad â phobl a chanfod pan nad yw'n gweithio. Dwi ddim yn gyfarwydd â'r gweithdrefnau, dim ond rhiant ydw i...byddai'n rhoi llais go iawn i mi.'*
>
> **Dyn nad yw'n derbyn gofal, 35 – 64 oed**

Yn ein barn ni, byddai hyrwyddo'r defnydd o eiriolwyr anffurfiol a ffurfiol gan bobl sy'n cael eu hasesu yn **gwella profiad cyffredinol o'r broses asesu**. Mae'n dda gennym weld bod eiriolaeth yn cael lle amlwg yn y ddeddfwriaeth a bod rhaid i awdurdodau lleol sicrhau bod gwasanaethau eiriolaeth ar gael os oes angen.

# Yr Asesiad Ariannol

Ar ôl cytuno bod angen gofal ar unigolyn, mae asesiad ariannol yn cael ei gynnal i benderfynu a ddylai'r unigolyn dalu am ei ofal, ac os felly, faint y dylai ei gyfrannu. Mae'r asesiad yn brawf modd. Mae'r rhan fwyaf o bobl yn disgwyl y bydd yna ryw fath o asesiad ariannol (yn enwedig yn yr hinsawdd o gyni ariannol sydd ohoni). Fodd bynnag, yn gyffredinol roedd diffyg ymwybyddiaeth o elfen ariannol y broses, ac mae rhai pobl yn honni na chawsant wybod am yr asesiad ariannol yn benodol.

Yn ôl ein gwaith ymchwil, roedd ymateb cymysg i'r broses o asesiadau ariannol, ac roedd y canlynol o **bwysigrwydd penodol**:

- gwybodaeth ac arbenigedd yr unigolyn sy'n cynnal yr asesiad;
- lefel yr wybodaeth ofynnol;
- sut i gael gafael ar gymorth ar gyfer y broses asesu ariannol.

Wrth ymateb i gwestiwn am yr asesiad ariannol, roedd nifer o gyfranogwyr yn teimlo bod y **cymorth a'r gefnogaeth a roddwyd yn ystod y broses yn annigonol**. Roedd rhai'n teimlo bod y ffurflenni yn **hir ac yn gymhleth** ac nad oeddent wedi cael eu paratoi'n dda i'w cwblhau.

*'Fe ddaeth y gweithiwr cymdeithasol gofal i'r tŷ gyda menyw arall ac fe gafodd popeth ei gwblhau yn y fan a'r lle yn gymharol effeithlon. Hefyd, rwy'n cofio metron y cartref gofal preswyl yn galw yma i'w chyflwyno ei hun. Fe gafodd y gwaith papur ei gwblhau yn gymharol effeithlon.'*

**Menyw, merch i rywun sy'n derbyn gofal preswyl, 85+ oed**

*'Roedd yr holl beth yn eithaf personol yn fy marn i. Roedden nhw eisiau gweld pob datganiad ariannol oedd gen i. Roedd rhaid dangos pob datganiad yn ymwneud â'm harian i ac arian fy ngŵr. Teimlais fod yr holl broses yn ymyrryd yn ormodol. Fe eisteddodd gyda ni cyn mynd â'r dogfennau i ffwrdd a'u postio yn ôl atom.'*

**Menyw, gwraig rhywun nad yw'n derbyn gofal preswyl, 75 – 84 oed**

Yn yr achosion gorau a nodwyd gan ein gwaith ymchwil, roedd yr awdurdod lleol yn darparu aelodau staff penodedig a oedd yn deall proses yr asesiad ariannol a'r wybodaeth ofynnol yn dda. Yn yr achosion gwaethaf a rannwyd gyda ni, dywedodd

pobl fod yr asesiad ariannol wedi'i gwblhau heb unrhyw fewnbwn ganddynt hwy na'u teulu, ac nad oedd y broses wedi'i hegluro.

Roedd trefniadau awdurdodau lleol yn **amrywio'n fawr** hefyd, gyda rhai ohonynt yn gofyn am fanylion ariannol llawn, ac eraill yn cwblhau'r gwaith heb unrhyw fewnbwn gan yr unigolyn na'i deulu. Cwblhawyd rhai asesiadau wyneb yn wyneb, ac eraill dros y ffôn.

Y teimlad oedd bod asesiadau ariannol yn glir ac yn darparu gwybodaeth pan fydd swyddog ariannol penodedig yn eu cynnal, ac roedd pobl yn fwy bodlon â'r broses asesu pan oedd yr asesydd yn gallu ateb cwestiynau yn syth heb orfod gofyn i'w gydweithwyr. O ganlyniad, roedd y profiad cyffredinol yn fwy **cadarnhaol**.

# Derbyn canlyniad yr asesiad, apelio a chwyno

Mae'r dulliau o roi gwybod am ganlyniad yr asesiad o anghenion gofal ac ariannol yn amrywio. Mae'r rhan fwyaf o bobl yn cael gwybod am ganlyniad yr asesiad o'u hanghenion gofal ac ariannol mewn llythyrau ar wahân. Yn gyffredinol, roedd pobl yn falch o dderbyn cadarnhad ysgrifenedig o'r penderfyniadau.

Roedd ein gwaith ymchwil yn dangos bod rhai pobl yn cael gwybod am y canlyniad tebygol yn ystod yr asesiad. Roedd hyn yn rhoi sicrwydd i rai pobl ond yn peri gofid os nad oedd y canlyniad cadarnhaol yn cael ei wireddu yn y penderfyniad swyddogol.

> *'Hyd at y pwynt hwn, roeddwn i'n teimlo'n hynod gyfforddus. Roeddwn i'n meddwl bod popeth yn iawn a bod rhywun am ddod i'm helpu ymhen ychydig wythnosau. Dyna'r argraff ges i ar ôl yr asesiad ...Roeddwn i'n credu y byddwn i'n derbyn y gofal hwn. Dwi ddim yn siŵr ai hi neu fi a oedd hi wedi gorliwio, ond roedd hi'n sicr y byddwn i'n derbyn y gofal.'*
>
> **Dyn nad yw'n derbyn gofal, amhreswyl, 35-64 oed**

Mewn llawer o achosion, ymatebodd pobl yn gadarnhaol i ganlyniad eu hasesiad. Hyd yn oed os oedd lefel is o ofal neu gyllid yn cael ei chynnig nag a ragwelwyd (neu y gobeithiwyd), yn ôl ein gwaith ymchwil roedd pobl yn teimlo bod rhywfaint o gymorth yn well na dim cymorth o gwbl. Fodd bynnag, roedd rhai pobl yn teimlo'n ddig, yn ddryslyd neu'n ofidus oherwydd canlyniad eu hasesiadau.

Roedd rhai pobl a gymerodd ran yn y gwaith ymchwil yn teimlo bod y gwaith papur dilynol sydd angen ei gwblhau a'i gyflwyno yn dilyn canlyniad llwyddiannus yn **hir ac yn gymhleth**.

## Apelio a chwyno

Yn ôl ein gwaith ymchwil, **ychydig iawn** o bobl sy'n **apelio** os ydynt yn siomedig â chanlyniad eu hasesiad. Yn aml, mae pobl yn derbyn canlyniad yr asesiad o anghenion gofal ac anghenion ariannol, gan deimlo nad oes diben herio'r penderfyniad. Hefyd, yn aml mae pobl sy'n teimlo bod y broses asesu yn feichus neu'n anodd iawn yn teimlo eu bod wedi'u trechu, ac maent ymysg y rhai sydd lleiaf tebygol o gymryd camau dilynol. Mae eraill yn penderfynu peidio â mynd â'r mater ymhellach gan nad ydynt eisiau bod yn niwsans neu eu bod yn teimlo y gallant ymdopi heb unrhyw gymorth.

*‘Roeddwn i’n teimlo fy mod i wedi cael cam, ond doeddwn i ddim eisiau creu trafferth.’*

**Menyw, gwraig unigolyn sy’n derbyn gofal preswyl, 65-74 oed**

Dywedodd nifer fach o bobl a gymerodd ran yn yr ymchwil y byddai’r broses apelio yn codi ofn arnynt.

*‘Mae gen i ofn gofyn a dweud y gwir.’*

**Menyw, ffrind i unigolyn sy’n derbyn gofal amhreswyl, 75-84 oed**

Hefyd, dangosodd ein gwaith ymchwil fod rhai pobl yn penderfynu peidio â herio neu apelio yn erbyn canlyniadau gan nad ydynt yn teimlo bod ganddynt ddigon o wybodaeth i wneud hynny.  Nid oedd rhai pobl yn gwybod am y broses apelio.

Nid yw’r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn cynnwys proses apelio, er bod pobl yn gallu gofyn am adolygu neu ailasesu penderfyniadau cymhwysedd mewn rhai amgylchiadau. Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn poeni nad yw’r broses apelio bresennol yn gweithio’n dda. Mae’n hanfodol sicrhau bod pobl yn gallu apelio yn erbyn penderfyniadau mewn ffordd glir a syml. Dylai Llywodraeth Cymru ailystyried sut mae pobl yn apelio yn erbyn penderfyniadau er mwyn sicrhau bod y broses yn hawdd i’w deall a’i bod yn arwain at ganlyniadau clir ac amserol.

# Talu am Ofal

Yn wahanol i ofal iechyd, nid yw gofal cymdeithasol personol yn cael ei ariannu gan y GIG. Yn hytrach, mae gofyn i bobl ddefnyddio eu cyfalaf a'u hincwm eu hunain i gyfrannu at gost eu gofal. Awdurdodau lleol sy'n talu gweddill y gost. Mae cyfraniad unigolyn yn dibynnu ar ei allu i dalu, sy'n cael ei benderfynu gan asesiad ariannol (prawf modd) ar sail meini prawf penodol.

Yn ôl ein gwaith ymchwil, roedd rhai pobl yn teimlo bod y system o dalu am ofal yn **ddryslyd ac yn annheg mewn rhai amgylchiadau**. Rydym yn ystyried y mater hwn yn fanylach yn yr adrannau isod.

Fel rhan o'n gwaith ymchwil, gofynnwyd i bobl pwy maen nhw'n meddwl sy'n talu am ofal cymdeithasol yng nghartrefi pobl, neu mewn cartrefi gofal preswyl. Mae'r ymateb yn dangos y canlynol:

- mae'r rhan fwyaf o bobl yn credu mai awdurdodau lleol (**40%**) sy'n talu am ofal yng nghartrefi pobl

- mae'r rhan fwyaf o bobl yn credu mai unigolion a'u teuluoedd (**38%**) sy'n talu am ofal preswyl, mae **35%** yn credu mai awdurdodau lleol sy'n talu amdano, ac mae **33%** o'r farn bod y penderfyniad yn seiliedig ar faint o arian sydd gan bobl. Gweler y siart isod.

**Ffigur 3. Pwy ydych chi'n meddwl sy'n talu am ofal cymdeithasol?**




Roedd y system bresennol o dalu am ofal yng Nghymru i fod i newid ym mis Ebrill 2016, ochr yn ochr â newidiadau yn Lloegr. Fodd bynnag, oherwydd oedi wrth ddiwygio'r drefn o dalu am ofal cymdeithasol yn Lloegr a'r newidiadau i fudd-daliadau lles, penderfynodd Llywodraeth Cymru ohirio cyflwyno newidiadau yng Nghymru. Yn y cyfamser, mae Llywodraeth Cymru wedi diweddaru'r fframwaith asesu ariannol a chodi tâl (h.y. sut mae pobl yn talu am eu gofal) ar sail rhan 5 o'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant. Mae'r Ddeddf hon yn darparu ar gyfer un fframwaith cyfreithiol ar gyfer codi tâl am ofal a chymorth, neu ar gyfer codi tâl am gymorth ar gyfer gofalwyr. Yn y naill achos a'r llall, mae gan awdurdodau lleol yr hawl i godi tâl. Mae'r manylion ar gael yn y cod ymarfer[15].

Mae trafodaethau cyhoeddus ar dalu am ofal wedi tueddu i ganolbwyntio ar annhegwch ymddangosiadol pobl yn cyfrannu at gostau gofal preswyl drwy ddefnyddio cyfalaf eu cartrefi.

Fodd bynnag, mae yna faterion ariannol eraill hefyd:

- mae'n bosibl na fydd pobl yn gallu fforddio'r cartref gofal o'u dewis gan nad yw cyfraddau safonol awdurdodau lleol yn ddigon i dalu'r ffioedd;

[15] Gweler Rhan 4 a 5 o'r Cod Ymarfer (Codi Ffioedd ac Asesiadau Ariannol)

- gall trydydd partïon (h.y. aelodau'r teulu) dalu rhai o'r ffioedd i roi mwy o ddewis i'r preswylydd, ond mae'n bosibl y bydd preswylwyr yn gorfod symud oni wneir y taliadau;
- mae pobl mewn gofal preswyl sy'n cyfrannu at gostau eu gofal yn cadw £26.50 yr wythnos ar gyfer treuliau personol (lwfans treuliau personol), sy'n annigonol yn ôl rhai pobl[16];
- gall costau fod yn rhan sylweddol o incwm ym maes gofal amhreswyl, er bod Llywodraeth Cymru yn pennu terfyn ar hyn.

**Ffigur 4. I ba raddau ydych chi'n teimlo eich bod yn gwybod am gostau posibl gofal cymdeithasol (pobl nad ydynt yn derbyn gofal cymdeithasol)?**




Yn ôl ein gwaith ymchwil, mae safbwyntiau pobl ar dalu am ofal yn amrywio rhwng y rhai sy'n derbyn gofal yn y cartref a'r rhai sy'n derbyn gofal preswyl.

## Gofal amhreswyl

O dan ddeddfwriaeth, mae awdurdodau lleol yn gallu codi tâl am ofal amhreswyl. Er bod taliadau yn amrywio rhwng awdurdodau lleol ac ar sail y gofal sydd ei angen, mae Llywodraeth Cymru wedi pennu terfyn o £60 yr wythnos ar gyfer cyfraniadau. Gall rhai awdurdodau lleol ddewis pennu terfyn wythnosol is a dewis peidio â chodi tâl o gwbl am rai gwasanaethau. Mae gan awdurdodau lleol yr hawl i wneud penderfyniadau ynglŷn â chodi tâl, yn unol â'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol

[16] Gweler, er enghraifft Llywodraeth Cymru: Talu am Ofal yng Nghymru – adroddiad y grŵp cynghori rhanddeiliaid ar adroddiad Comisiwn Dilnot, Chwefror 2013.

a Llesiant, y rheoliadau a'r cod ymarfer[17]. Gall cyfraniadau pobl amrywio ar sail eu hamgylchiadau a'u hanghenion gofal unigol, a byddant yn cael eu penderfynu gan yr asesiadau a drafodwyd yn yr adrannau blaenorol a gan bolisïau codi tâl awdurdodau lleol.

Yn ôl ein gwaith ymchwil, yn gyffredinol mae pobl sy'n derbyn gofal yn eu cartrefi yn deall faint mae'r awdurdod lleol a faint maen nhw eu hunain yn ei gyfrannu at gost eu gofal. Mynegwyd pryderon ynglŷn â newidiadau posibl i'w hanghenion ariannu yn y dyfodol os yw cyflwr unigolyn yn newid, yn enwedig os yw'r costau'n cynyddu o ganlyniad i hynny.

## Dulliau o dalu

Mae sut mae pobl yn talu am ofal amhreswyl, lle bo angen talu amdano, yn amrywio. Mae taliadau'n dod o gynilion, incwm o gyflogau neu bensiwn (neu incwm/pensiwn partner), budd-daliadau amrywiol (fel Lwfans Byw i'r Anabl, Cymhorthdal Incwm a Chredydau Treth), neu gyfuniad o'r uchod yn aml. Hefyd, gwelwyd bod y **swm sy'n cael ei dalu** gan bobl yn amrywio, gyda rhai unigolion yn cyfrannu £5 tuag at gost Canolfannau Gofal Dydd, ac eraill yn talu hyd at £70 yr wythnos am ofal a ariennir yn breifat.

Os yw awdurdod lleol yn talu am ofal unigolyn, mae'n bosibl y bydd yn derbyn y cyllid hwn ar ffurf taliad uniongyrchol. Mae taliad uniongyrchol yn arian sy'n cael ei roi gan awdurdod lleol i unigolyn i'w wario ar ddiwallu ei anghenion gofal dynodedig (yn dilyn asesiad o anghenion gofal). Mae modd gwario'r arian ar amrywiaeth eang o gynhyrchion a gwasanaethau. Mae taliadau uniongyrchol yn galluogi pobl i wneud dewisiadau am eu gofal.

Yn ôl canfyddiadau ein gwaith ymchwil, yn gyffredinol roedd pobl yn **croesawu** taliadau uniongyrchol fel rhywbeth **cadarnhaol**. Er, roedd rhai unigolion yn teimlo nad oeddynt wedi cael digon o wybodaeth am y broses o ddefnyddio taliadau uniongyrchol yn y dechrau. Yn ein barn ni, mae angen rhoi cyfarwyddiadau clir i bawb sy'n derbyn gofal, neu i'w gofalwyr, ar sut i ddefnyddio taliadau uniongyrchol a pha ffynonellau gwybodaeth a chyngor â sicrwydd ansawdd sydd ar gael i helpu pobl i ddewis y gofal a'r cymorth priodol.

Un enghraifft o sut mae modd cynorthwyo pobl i ddefnyddio taliadau uniongyrchol yw prosiect Anabledd Cymru a Chanolfan Cydweithredol Cymru, a ariennir gan Gronfa Loteri Fawr Cymru, sy'n ceisio cryfhau llais a gwella dewis a rheolaeth ar gyfer pobl anabl drwy ddatblygu cwmnïau cydweithredol o dan arweiniad dinasyddion fel ffordd newydd o reoli Taliadau Uniongyrchol.

[17] Gweler Rhan 4 a 5 o'r Cod Ymarfer (Codi Ffioedd ac Asesiadau Ariannol)

## Effaith costau ar ofal amhreswyl

Yn ôl ein gwaith ymchwil, nid yw’r rhai sy’n ariannu gofal amhreswyl yn rhannol yn cwestiynu faint o gyllid y maent yn ei dderbyn gan yr awdurdod lleol fel arfer, ac roeddent o’r farn fod unrhyw gymorth yn well na dim cymorth o gwbl. Er, roedd rhai o’r bobl sy’n ariannu eu gofal yn rhannol yn mynegi pryder ynglŷn â’u hincwm gwario cyfyngedig, gan nodi y byddai pethau’n anodd iddynt pe bai cyfraniad yr awdurdod lleol yn lleihau neu pe bai costau’r gofal yn cynyddu. Mae hyn yn berthnasol iawn i’r rhai sy’n dibynnu ar gynilion yn hytrach nag incwm i ariannu gofal.

## Gofal preswyl

Nid oes terfyn ar gyfraniadau wythnosol ar gyfer gofal preswyl, ond mae Llywodraeth Cymru wedi cyhoeddi canllawiau ar gyfer awdurdodau lleol. Disgwylir i unigolion dalu cost lawn eu gofal preswyl os oes ganddynt gyfalaf dros lefel benodol. Y lefel ar hyn o bryd yw **£24,000**. Os yw terfyn cyfalaf unigolyn yn gostwng yn is na £24,000, gall gofyn am asesiad ariannol arall gan ei awdurdod lleol er mwyn penderfynu faint y mae’n rhaid iddo ei dalu. Fel sy’n wir am ofal amhreswyl, bydd prawf modd yn penderfynu faint y mae’n rhaid i unigolyn ei dalu.

Roedd y rhai sy’n derbyn gofal preswyl yn llai ymwybodol o’u sefyllfa ariannol ac o sut mae costau eu gofal yn cael eu rheoli. Yn ôl ein gwaith ymchwil, **nid oedd pobl sy’n derbyn gofal preswyl yn gwybod llawer am gost eu gofal, eu cyfraniad nhw at y gost a faint o gynilion sy’n weddill ganddynt.** Yn gyffredinol, nid oedd yr unigolion hynny yn poeni am eu diffyg gwybodaeth gan eu bod yn dibynnu ar aelod o’r teulu i reoli eu materion ariannol.

## Dulliau o dalu

Yn ôl ein gwaith ymchwil, mae rhai pobl sy’n derbyn gofal preswyl yn gwybod am y terfyn cyfalaf ac yn deall goblygiadau bod â chynilion ac asedau, yn bennaf drwy storïau yn y cyfryngau neu drwy wneud eu gwaith ymchwil eu hunain. Mewn cyferbyniad, nid oedd rhai pobl yn ymwybodol o effaith na goblygiadau bod yn berchen ar dŷ, nes eu bod yn wynebu argyfwng a bod angen gofal arnynt ar unwaith.

Dangosodd ein gwaith ymchwil bod rhai pobl yn teimlo’n chwerw am y ffaith eu bod wedi cael gwybod am effaith bod yn berchen ar dŷ “yn rhy hwyr” i atal gwerth y tŷ rhag cael ei ddefnyddio i dalu am gost eu gofal. Un agwedd a oedd yn peri gofid penodol i unigolion a’u teuluoedd oedd sylweddoli bod y tŷ a oedd i fod i gael ei etifeddu gan eu plant yn cael ei gymryd oddi arnynt i bob diben. Yn ystod y gwaith ymchwil, roedd rhai’n teimlo y dylai gwybodaeth am effaith perchentyaeth fod ar

gael yn eang ac yn gyffredinol. Roedd llawer yn mynegi teimlad o 'anghyfiawnder' y gall pobl nad ydynt yn berchen ar dŷ (a heb gynilion) dderbyn yr un gofal am ddim.

> *'Weithiau mae'n rhaid cwestiynu a yw'n werth cynilo at ein henaint – mae'n rhaid iddyn nhw eich rhoi chi yn rhywle yn y pen draw.'*
>
> **Menyw sy'n derbyn gofal preswyl, 85+ oed**

Hefyd, mae'r gwaith ymchwil yn dangos bod aelodau rhai teuluoedd yn teimlo'n gaeth mewn tŷ mawr neu anaddas. Roedd rhai eisiau symud tŷ ond yn teimlo na allent wneud hynny gan y byddai'r arian sy'n cael ei ryddhau wedyn yn cael ei gymryd fel cyfraniad at gost eu gofal.

Fel rhan o'r adolygiad o dalu am ofal yng Nghymru, astudiodd LE Wales Research amrywiaeth o opsiynau. Un opsiwn oedd codi trothwy'r terfyn cyfalaf , h.y. y terfyn lle nad oes angen i bobl dalu am eu gofal eu hunain, sy'n **£24,000** ar hyn o bryd, i **£100,000**. Byddai codi'r terfyn yn golygu bod pobl yn gallu cadw rhywfaint o'u cyfalaf i'w drosglwyddo i'w teuluoedd.

> *'Dywedwyd wrthyf yn y lle cyntaf bod fy nghartref yn ddiogel ac na fyddai'n rhaid i mi werthu'r tŷ i gadw Grace yma oherwydd ei fod yn gartref teuluol ac roedd fy llysfab yn dal i fyw yno – dyna'r wybodaeth a ges i… gan y bwrdd iechyd lleol dwi'n meddwl…ac roeddwn i'n teimlo'n ddiogel wedyn. Ond nawr rwyf wedi cael gwybod neu wedi dysgu, wel rwy'n tybio, os byddaf i'n gwerthu'r tŷ fel dewis personol bydd rhaid i mi dalu'n llawn oherwydd y swm o arian fydd yn y banc.'*
>
> **Dyn, gŵr i rywun sy'n derbyn gofal preswyl, 65-74 oed**

> *'Mae problemau'n codi os ydych chi eisiau gwerthu'ch tŷ a symud i rywle llai, neu os ydych chi eisiau symud i fyw'n agosach at eich plant …os ydych chi'n symud i dŷ llai er mwyn rhyddhau arian i dalu biliau ac ati, dydych chi ddim yn gweld yr arian achos mae ei hanner yn mynd i dalu'r ffi'*
>
> **Dyn, gŵr unigolyn sy'n derbyn gofal preswyl, 85+ oed**

Fel rhan o'r gwaith ymchwil, gofynnwyd i bobl a ddylid pennu terfyn ar gyfer faint o arian y mae'n rhaid i bobl ei dalu, waeth beth yw eu hincwm a'u hasedau. Roedd **73%** yn cytuno bod angen pennu terfyn.

## Effaith costau gofal

Roedd rhywfaint o ddryswch ymhlith pobl sy'n derbyn gofal preswyl ynglŷn â chostau 'cudd' y cartref gofal. Roedd llawer yn meddwl bod gwasanaethau fel torri gwallt a thrin traed wedi'u cynnwys yn y ffioedd. Yn ôl ein gwaith ymchwil, roedd

teuluoedd rhai pobl yn teimlo'n anhapus nad yw cartrefi gofal yn **fwy tryloyw** ynglŷn â'r costau ychwanegol hyn, ac roedd lleiafrif yn ei chael yn anodd talu'r costau o'u Lwfans Treuliau Personol (**£26.50 yr wythnos ar hyn o bryd**). Roedd aelodau rhai teuluoedd yn teimlo bod y costau cudd yn straen ar eu sefyllfa ariannol nhw eu hunain.

O ystyried y pryderon a amlygwyd gan ein gwaith ymchwil ynglŷn â chostau 'cudd' cartrefi gofal, rydym yn credu bod angen darparu gwybodaeth glir am gostau, gan gynnwys prisiau gwasanaethau hanfodol nad ydynt wedi'u cynnwys yn y gyfradd wythnosol. Dylai'r wybodaeth hon fod ar gael ymlaen llaw a chael ei chynnwys mewn unrhyw ddeunyddiau marchnata cartrefi gofal fel bod preswylwyr, darpar breswylwyr a'u teuluoedd yn gallu deall yr holl gostau ychwanegol tebygol cyn symud i mewn.

Yn ddiweddar, mae Comisiynydd Pobl Hŷn Cymru wedi gofyn am eglurdeb gan gartrefi gofal ynglŷn â thaliadau trydydd parti (neu daliadau ychwanegol) a'r hyn y mae'r taliadau yn eu cynnwys[18]. Mae'r cais hwn wedi deillio o sgyrsiau Comisiynydd Pobl Hŷn Cymru â phobl hŷn a'u teuluoedd ledled Cymru. Mae **Cyngor** ar **Bopeth eisoes wedi gofyn i'r Awdurdod Cystadleuaeth a Marchnadoedd (CMA) gyhoeddi canllawiau diwygiedig ar delerau annheg mewn cytundebau cartrefi gofal**[19]. Rydym yn credu bod angen sicrhau bod canllawiau yn glir ac yn hygyrch i bobl. Hefyd, gallai awdurdodau lleol fanteisio ar y cyfle hwn i sicrhau bod cartrefi gofal yn gweithredu'n dryloyw mewn perthynas â thaliadau ychwanegol.

[18] chrome-extension://bpmcpldpdmajfigpchkicefoigmkfalc/views/app.html
[19] Gweler adroddiad Cyngor ar Bopeth Hidden Charges in Care Homes mis Chwefror 2016

# Casgliad

Mae'r gwaith ymchwil yn amlygu consensws clir ei bod yn **anodd deall** y maes gofal cymdeithasol yng Nghymru, yn enwedig **sut i gael gafael ar ofal**.

Mae Cyngor ar Bopeth Cymru wedi canfod bod llawer iawn o wybodaeth ar gael, yn enwedig ar-lein, ond **nad yw'n hawdd canfod neu ddeall yr wybodaeth bob amser oni bai eich bod yn gwybod yn union beth rydych chi'n chwilio amdano**. Mae'r gwaith ymchwil yn dangos bod angen sicrhau bod yr holl wybodaeth ar gael mewn un lle fel bod pawb yn gwybod sut i gael cyngor ar ofal cymdeithasol yng Nghymru.

Ers i ni gynnal ein gwaith ymchwil, mae'r sector gofal cymdeithasol yng Nghymru wedi newid yn sgil cyflwyno Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014. Mae'n galonogol bod llawer o'r newidiadau a gyflwynwyd gan y Ddeddf yn mynd i'r afael â rhai o'r problemau a amlygwyd gan ein gwaith ymchwil.

Mae darparu gwybodaeth â sicrwydd ansawdd yn hanfodol, yn ogystal â sicrhau bod pobl yn gwybod sut i gael gafael ar yr wybodaeth hefyd. Mae ein hadroddiad yn cynnwys nifer o argymhellion a fydd yn helpu i lywio datblygiad gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor ledled Cymru yn ein barn ni. Mae'n bwysig bod y **gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor yn darparu gwybodaeth â sicrwydd ansawdd i bawb, gan gynnwys pobl sydd wedi'u hallgáu'n ddigidol.**

Mae'n destun pryder y bydd gwasanaeth gwybodaeth, cymorth a chyngor yn cymryd mwy na deuddeg mis i'w roi ar waith a dod yn gwbl weithredol. Mae'r gofynion ar gyfer darparu gwasanaethau gwybodaeth a chyngor yn her, yn enwedig o ran sicrhau bod yr wybodaeth yn gywir, yn gyfoes, yn bodloni safonau ansawdd cenedlaethol ac yn hawdd i'w deall. Wrth i gyllidebau awdurdodau lleol barhau i leihau, bydd yn anodd sicrhau adnoddau digonol.

Mae'n galonogol bod ein gwaith ymchwil wedi amlygu llawer o arferion da yn y sector gofal cymdeithasol yng Nghymru, ac rydym yn awyddus i sicrhau bod yr arferion hyn yn cael eu rhannu a'u pwysleisio i ymarferwyr ac yn ehangach. Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn credu y gall hyn wella profiadau cyffredinol pobl sy'n defnyddio gwasanaethau gofal cymdeithasol yng Nghymru, a phrofiadau'r rhai sy'n gweithio yn y maes.

Mae'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn gofyn am newid diwylliant, a dim ond drwy roi'r cymorth priodol i'r rhai sy'n gorfod gweithredu'r newidiadau y bydd hynny'n bosibl. Rydym yn gobeithio bod Llywodraeth Cymru, awdurdodau lleol, rheoleiddwyr a sefydliadau eraill yn sylweddoli hyn ac yn ystyried ein hargymhellion fel cam cadarnhaol tuag at gyflwyno'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant yn llwyddiannus.

# Atodiad Un – Adolygiad o'r dystiolaeth

Er mwyn paratoi'r adroddiad hwn, cynhaliwyd gwaith ymchwil gan IFF Research a Beaufort Research ar ran Cyngor ar Bopeth Cymru. Mae data'r rhwydwaith Cyngor ar Bopeth Lleol wedi'i ddadansoddi hefyd er mwyn deall problemau a phryderon yn ymwneud â gofal cymdeithasol. Hefyd, cynhaliwyd adolygiad o'r gwasanaethau ffôn a gwybodaeth ar wefannau pob un o'r **22 awdurdod lleol** yng Nghymru.

Mae crynodeb byr o'r dystiolaeth a gasglwyd i'w gweld isod:

## Ymchwil IFF

Comisiynodd Cyngor ar Bopeth Cymru waith ymchwil i ddarparu gwybodaeth uniongyrchol gan ddefnyddwyr gwasanaethau gofal cymdeithasol presennol yng Nghymru a darpar ddefnyddwyr yn y dyfodol. Mae'r wybodaeth yn cyfleu safbwynt pobl ar sut mae'r system gofal cymdeithasol yn gweithio yng Nghymru o ddydd i ddydd. Roedd y gwaith ymchwil yn cynnwys:

- Profiadau pobl o'r broses o gael gafael ar ofal cymdeithasol (preswyl ac amhreswyl);
- Sut mae cyfrannu tuag at gostau eu gofal yn effeithio ar bobl;
- Unrhyw niwed gwirioneddol neu bosibl i bobl (gan ganolbwyntio ar unigolion sy'n agored i niwed) oherwydd y system bresennol neu'r system newydd;
- Archwilio effaith debygol newidiadau i'r modd y telir am ofal.

Cynhaliwyd gwaith ymchwil IFF rhwng mis Mawrth a mis Mehefin 2015. Roedd yr astudiaeth ymchwil yn cynnwys:

- 3 grŵp ffocws yn cynnwys pobl nad ydynt yn derbyn unrhyw ofal cymdeithasol a ariennir gan yr Awdurdod Lleol ar hyn o bryd
- Cyfweliadau wyneb yn wyneb lled strwythuredig â'r rhai sydd angen gofal a chymorth yn y cartref (46)
- Cyfweliadau wyneb yn wyneb lled strwythuredig â'r rhai sydd angen gofal preswyl (24)

**Cynhaliwyd y cyfweliadau manwl rhwng mis Ebrill a mis Mehefin 2015.**

**Cyfweliadau amhreswyl**

Roedd y 46 o gyfweliadau â'r rhai 'sydd angen gofal a chymorth yn y cartref' yn cynnwys 27 o bobl sy'n derbyn gofal a ariennir gan yr Awdurdod Lleol ar hyn o bryd (21 yn derbyn gofal a ariennir yn llawn a 6 yn derbyn gofal a ariennir yn rhannol) a 19 o'r rhai sydd angen gofal cymdeithasol ond nad ydynt yn derbyn unrhyw arian gan yr Awdurdod Lleol am eu gofal. Yn bennaf, roedd y grŵp hwn yn cynnwys y rhai nad oeddent wedi cael asesiad gan yr Awdurdod Lleol (5), ond roedd hefyd yn cynnwys 14 o bobl a oedd wedi cael asesiad ond nad oeddent yn bodloni'r trothwy i

dderbyn cymorth gan eu Hawdurdod Lleol.

Roedd y cyfweliadau manwl yn cynnwys amrywiaeth o bobl o safbwynt oedran, mathau o gyflwr iechyd / anabledd ac incwm.

**Cyfweliadau preswyl**

Roedd pob un o'r 24 o breswylwyr cartrefi gofal a gafodd eu cyfweld yn derbyn gofal a ariennir gan yr Awdurdod Lleol. Cynhaliwyd y cyfweliadau â'r preswylydd ei hun neu ag aelod(au) ei deulu (os nad oedd ganddo'r gallu i gael ei gyfweld), neu mewn rhai achosion, cynhaliwyd cyfweliadau â'r ddau barti'n bresennol.

Roedd y cyfweliadau preswyl yn cynnwys amrywiaeth o bobl o safbwynt oedran, mathau o gyflwr iechyd / anabledd ac incwm hefyd.

**Grwpiau Ffocws**

Cynhaliwyd tri grŵp ffocws yn cynnwys amrywiaeth o bobl o blith y cyhoedd. Roedd gan rai ohonynt gyflyrau iechyd neu roeddent yn adnabod pobl a oedd wedi cael profiad o'r system gofal cymdeithasol, ond nad oeddent yn derbyn unrhyw ofal a ariennir gan yr Awdurdod Lleol. Rhannwyd y grwpiau fel hyn:

- Pobl hŷn (65-75) (8 ymatebydd)
- Pobl iau (35-64 oed) ar incwm isel (llai na £20,000 y flwyddyn) (7 ymatebydd)
- Pobl iau (35-64 oed) ar incwm cymedrol (rhwng £20,000 a £70,000 y flwyddyn) (5 ymatebydd)

Cynhaliwyd y grwpiau hyn yng Nghaerdydd ar 31 Mawrth 2015.

## Ymchwil Beaufort

Yn ogystal â'r data ymchwil ansoddol gan IFF, comisiynwyd rhagor o ymchwil feintiol gan Beaufort Research. Mae'r ymchwil yn darparu sampl gynrychioladol o agweddau pobl Cymru tuag at ddarparu gofal cymdeithasol yng Nghymru, ac mae'n cynnwys pobl sy'n derbyn gofal ar hyn o bryd, eu teuluoedd a'r rhai a all fod angen cael gafael ar wasanaethau gofal yn y dyfodol o bosibl.

Cynhaliwyd y gwaith ymchwil ym mis Mawrth 2015. Cwblhawyd a dadansoddwyd cyfanswm o **1022 o gyfweliadau**. Er bod y gwaith ymchwil wedi'i gwblhau yn 2015, rydym yn credu bod ein tystiolaeth ymchwil yn berthnasol wrth i'r Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant gael ei chyflwyno. Hefyd, mae'n rhoi cipolwg hollbwysig i ni ar ddarpariaeth a swyddogaeth y gwasanaethau gwybodaeth, cymorth a chyngor sydd eu hangen o dan y Ddeddf.

## Tystiolaeth y Rhwydwaith Cyngor ar Bopeth

Mae gennym dipyn o dystiolaeth fanwl gan Ganolfannau Cyngor ar Bopeth lleol ledled Cymru, ond mae'r dystiolaeth yn gyfyngedig mewn perthynas uniongyrchol â gofal cymdeithasol. Mae hyn yn rhannol, yn ein barn ni, oherwydd y ffaith nad yw

unigolion na'u teuluoedd yn gwybod ble mae cymorth a chyngor ar ofal cymdeithasol ar gael. Mae nifer o achosion manwl wedi'u nodi, er bod y rheswm gwreiddiol am gysylltu â Chyngor ar Bopeth yn ymwneud â mater gwahanol, fel pryderon ariannol.

## Adolygiad o wybodaeth Awdurdodau Lleol

Er mwyn ein helpu i ddeall pa mor effeithiol yw llwybrau presennol i wasanaethau gwybodaeth, cyngor ac eiriolaeth ym maes gofal cymdeithasol i'r cyhoedd yng Nghymru, aethom ati i gasglu tystiolaeth gan bob un o'r 22 awdurdod lleol yng Nghymru. Casglwyd yr wybodaeth dros y ffôn ac oddi ar wefannau awdurdodau lleol. Er mwyn dod o hyd i'r wybodaeth dros y ffôn, defnyddiwyd dull cwsmer cudd ar ôl dod o hyd i fanylion cyswllt pob awdurdod lleol ar eu gwefan. Casglwyd y dystiolaeth cyn i newidiadau Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014 gael eu cyflwyno.

## Ffynonellau Eraill

Mae nifer o ffynonellau data eraill wedi'u defnyddio wrth ysgrifennu'r adroddiad hwn. Yn benodol, defnyddiwyd data gwaith ymchwil a gomisiynodd Llywodraeth Cymru ar ddyfodol talu am ofal cymdeithasol yng Nghymru, a gwblhawyd gan LE Wales, ac adroddiad[20] y 'Grŵp Cynghori Rhanddeiliaid Talu am Ofal' a sefydlwyd yn 2009 gan y Dirprwy Weinidog Gwasanaethau Cymdeithasol.

[20] Rhagor o ddiwygiadau i'r trefniadau ar gyfer talu am ofal a chymorth yng Nghymru, adroddiad y Grŵp Cynghori Rhanddeiliaid Talu am Ofal, mis Mawrth 2015.

# Atodiad Dau - Gofynion Craidd y Gwasanaeth Gwybodaeth, Cyngor a Chymorth

Mae'n rhaid i awdurdodau lleol ddarparu gwasanaeth gwybodaeth, cyngor a chymorth sy'n cynnwys:

a) ymateb cymesur i'r ymholiad sy'n grymuso'r unigolyn i gael gafael ar wasanaethau ymyrraeth gynnar ac ataliol;
b) gwybodaeth am ofal a chymorth, neu wybodaeth am gymorth ar gyfer gofalwyr, sy'n gywir ac yn gyfoes, heb fod angen cofnodi data craidd yn yr Offeryn Asesu a Chymhwystra Cenedlaethol a heb gynnal asesiad;
c) cyngor ar ofal a chymorth, neu gymorth yn achos gofalwyr, sy'n addas i'r unigolyn, yn dilyn asesiad cymesur;
d) cyngor cynhwysfawr, diduedd er budd pennaf yr unigolyn sy'n cael ei roi gan staff sydd wedi'u hyfforddi ac sy'n hyddysg yn y broses asesu;
e) cymorth sy'n galluogi'r unigolyn i gael gafael ar wasanaethau gofal a chymorth priodol, gan gynnwys gwasanaethau ymyrraeth gynnar ac ataliol;
f) gwybodaeth, cyngor a chymorth hygyrch yn ymwneud â gofal a chymorth drwy gyfryngau amrywiol (gan gynnwys ar-lein, y cyfryngau cymdeithasol, dros y ffôn, wyneb yn wyneb, allgymorth, posteri a chyhoeddiadau);
g) gwybodaeth, cyngor a chymorth hygyrch yn ymwneud â materion gofal a chymorth sy'n gallu diwallu anghenion grwpiau gwahanol (gan gynnwys fersiynau Cymraeg, hawdd eu darllen, addas i blant ac ati);
h) gwybodaeth, cyngor a chymorth hygyrch ar gyfer grwpiau penodol gan gynnwys gweithwyr cymorth un i un os oes angen, er enghraifft, plant ac oedolion byddar a dall;
i) ymateb ysgrifenedig neu lafar i ymholiadau dros y we o fewn tri diwrnod gwaith;
j) cymorth eirioli i sicrhau bod unigolion yn gallu ymgysylltu a chyfrannu'n llawn at benderfyniadau sy'n effeithio arnynt;
k) protocolau diogelu lleol sy'n sicrhau bod camau gweithredu'n cael eu rhoi ar waith yn syth os oes amheuon ynglŷn â diogelwch unigolyn;
l) proses glir i'w dilyn gan staff yn dilyn cais am ofal a chymorth oherwydd argyfwng neu mewn achos brys;
m) systemau sy'n sicrhau y ceir cydsyniad i rannu gwybodaeth pan fydd data craidd yn cael ei gofnodi ac asesiad yn cael ei gynnal.

# Cyngor cyfrinachol am ddim.

# **Pwy bynnag ydych chi.**

Rydym yn helpu pobl i oresgyn eu problemau ac yn ymgyrchu ar faterion mawr pan fydd angen i'w llais gael ei glywed.

Rydym yn gwerthfawrogi amrywiaeth, yn hyrwyddo cydraddoldeb ac yn herio gwahaniaethu ac aflonyddu.

Rydym yma i bawb.

**citizensadvice.org.uk**

Cyhoeddwyd Mehefin 2016

Mae Cyngor ar Bopeth yn enw gweithredol Cymdeithas Genedlaethol y Canolfannau Cyngor ar Bopeth.

Rhif cofrestru'r elusen: 279057